# GWYRTHIAU CRIST;

YN EGLURO

# GOGONIANT EI BERSON, A NATUR EI WAITH.

GAN OWEN EVANS,

LLANBRYNMAIR.

"Y gweithredoedd yr wyf fi yn eu gwneuthur yn enw fy Nhad, y mae y rhai hyny yn tystiolaethu am danaf fi."—Iesu Grist.

---

"*We are to judge of doctrines by the accompanying miracles, and of miracles by the accompanying doctrines. The doctrines are the test of the miracles, the miracles of the doctrines. This statement is strictly correct, and involves no contradiction.*"—Pascal.

---



WREXHAM:

CYHOEDDEDIG GAN HUGHES AND SON, HOPE STREET.

# CYNWYSIAD.

## TRAETHAWD ARWEINIOL.



## Y GWYRTHIAU.

## AT Y DARLLENWYR.

---

GAREDIG GYDWLADWYR,

Y mae y mater yr ymdrinir âg ef yn y tudalenau canlynol, fel y mae yn hysbys i bawb o honoch, yn un o'r rhai pwysicaf a berthyn i grefydd y Testament Newydd; ac yn un sydd hefyd yn tynu sylw neillduol yn y byd Cristionogol y blynyddoedd hyn. Ond ychydig iawn rywfodd sydd wedi ei gyhoeddi arno hyd yma yn Gymraeg. Hyderaf, gan hyny, na bydd y gyfrol fechan hon, er ei holl anmherffeithrwydd, yn gwbl ddifudd nac annerbyniol, hyd nes y ceir rhywbeth teilyngach o'r testun, gan ryw feddwl mwy galluog, a diwylliedig.

Cefais lawer o anogaethau i ddwyn y llyfr yma allan trwy y wasg, gan amryw gyfeillion a gawsant gyfleusderau i ymgydnabyddu â rhanau o hono cyn iddo gael ei argraffu. Nid oes genyf ond gobeithio na bydd i'r cyfeillion caredig hyny gael eu siomi ynddo wrth ei ddarllen.

Mewn trefn i wneud y llyfr mor fuddiol ag y gallaswn i ei wneuthur, mi a ymgynghorais â'r llyfrau goreu oedd yn fy nghyraedd ar y pwnc; megys, gweithiau Westcott, Wardlaw, Bushnell, MacCosh, Mozley, Ellicott, Neander, Lange, Peter Bayne, Trench, a W. M. Taylor, &c.; yn

nghyd ag Erthyglau rhagorol yn Kitto's Cyclopædia, y Gwyddoniadur, a'r Traethodydd. Yr wyf yn dymuno idolchgar gydnabod fy rhwymedigaeth i'r awduron enwog hyn—ac yn enwedig i waith gwerthfawr yr Archesgob Trench, ar y Gwyrthiau—am lawer o gymhorth a goleuni.

Gwn yn dda y gwel llygad craff y darllenydd deallus lawer iawn o wallau a diffygion yn y llyfr. Ond nid wyf yn meddwl y bydd neb o'i ddarllenwyr yn fwy argyhoeddedig na mi fy hun o'i anmherffeithrwydd, a'i annheilyngdod o'r testun goruchel a gogoneddus a drinir ynddo. Ar yr un pryd, y mae yn dda genyf feddwl y gall yr Hwn a agorodd lygaid y dall trwy foddion mor ddistadl â chlai a phoeryn wneuthur y llyfr bychan hwn, er ei holl ddiffygion, o ryw les ac adeiladaeth i'r rhai a'i darllenant. Hyn yw gwir ddymuniad a gweddi

YR AWDWR.

*Vaenol, Llanbrynmair,*
*Ionawr* 22, 1868.

# TRAETHAWD ARWEINIOL.

---

## PENNOD I.

### DESGRIFIAD O WYRTH.

Y MAE pedwar o wahanol enwau yn cael eu rhoddi yn y Testament Newydd ar wyrthiau, sef nerthoedd, arwyddion, rhyfeddodau, a gweithredoedd. Yn gyntaf, *nerthoedd*, neu weithredoedd nerthol:—"Yna y dechreuodd efe edliw i'r dinasoedd yn y rhai y gwnaethid y rhan fwyaf o'i weithredoedd nerthol ef, am nad edifarhasent." "Ha wŷr Israel, clywch y geiriau hyn, Iesu o Nazareth, gŵr profedig gan Dduw yn eich plith chwi, trwy nerthoedd—y rhai a wnaeth Duw trwyddo ef yn eich canol chwi." (Math. xi. 20; Act. ii. 22.) Gelwir hwynt wrth yr enw hwn am eu bod yn amlygiadau o nerth a gallu goruwchnaturiol. Yn ail, *arwyddion*:—"A'r Arglwydd yn cydweithio, ac yn cadarnhau y gair trwy arwyddion, y rhai oedd yn canlyn." (Marc xvi. 20.) Sonir yn fynych am yr Iuddewon yn dyfod at Grist i geisio "*arwydd*" ganddo. (Math. xii. 38; xvi. 1; Ioan ii. 18). Os gofynir "arwyddion" o ba beth oeddynt? gellir ateb eu bod yn "arwyddion" o'r ddau beth hyn:—(1.) O ddwyfol anfoniad ac awdurdod y neb a'u cyflawnai. Felly yr oedd gwyrthiau Moses ger bron Pharaoh; a'r wyrth a wnaed trwy y proffwyd a anfonwyd i gondemnio eulunaddoliaeth Jeroboam. (Ex. iv. 8; vii. 9, 10; 1 Bren. xiii. 3.) Cawn i Grist hefyd iachau y claf o'r parlys yn "arwydd" o'i awdurdod i faddeu ei bechodau. (Marc ii. 10—12.) Y mae Paul hefyd yn cyfeirio at ei wyrthiau fel "arwyddion" o'i apostoliaeth.

(2 Cor. xii. 12.) (2.) Yr oeddynt yn "arwyddion" gweledig o waith anweledig Crist ar eneidiau dynion, fel y ceir achlysur i sylwi yn helaethach eto. Yn drydydd, un arall o'r enwau a roddir ar y gwyrthiau yw *rhyfeddodau*:—"Iesu o Nazareth, gŵr profedig gan Dduw yn eich plith chwi, trwy nerthoedd, rhyfeddodau, ac arwyddion." (Act. ii. 22; vi. 8.) Gelwir hwynt yn "rhyfeddodau" mewn cyfeiriad at eu dylanwad ar feddyliau yr edrychwyr: yr oeddynt yn peri i'r rhai a'u gwelent synu a rhyfeddu yn aruthrol, fel y dengys eu hanes. (Marc ii. 12; vii. 37.) Mae yn deilwng o'n sylw, mai gwahanol enwau ar yr un gweithredoedd yw y rhai hyn. Yr oedd pob gwyrth yn *nerth*, yn *arwydd*, ac yn *rhyfeddod*. Yn bedwerydd, gair arall a ddefnyddir gan Grist ei hun yn gyffredin am ei wyrthiau yw *gweithredoedd*. "Er nad ydych yn credu i mi, credwch y gweithredoedd." (Ioan v. 36; vii. 21; x. 25, 32, 38; xiv. 11, 12; xv. 24.) Ymddengys mai y rheswm paham y galwai yr Iesu ei wyrthiau wrth yr enw syml yma oedd, am nad oedd ei wyrthiau rhyfeddaf ond gweithredoedd perffaith rwydd a naturiol iddo ef, yr hwn oedd yn Berson dwyfol. Yr oedd mor naturiol iddo ef wneud gwyrth ag ydyw i'r haul gyfranu goleuni a gwres. Yr oedd efe, trwy nerth ei ewyllys, yn gallu gwrthweithio deddfau natur, a chyfodi y marw, mor rhwydd a didrafferth ag y mae dyn, trwy nerth ei ewyllys, yn gallu codi ei fraich, yn groes i ddeddf attyniad, yr hon a barai iddi ddisgyn.

Y mae y gwahanol enwau hyn a roddir ar wyrthiau, yn rhoddi golwg dra eglur i ni arnynt yn eu tarddiad, eu natur, eu heffeithiau, a'u dybenion; ac yn arwyddo mai dyna yw gwyrth:—*Gweithred yn cael ei chyflawni gan allu dwyfol mewn modd goruwchnaturiol; neu effaith yn cael ei chynyrchu yn annibynol ar ddeddfau cyffredin natur, a thrwy gyfryngiad uniongyrchol Duw ei hun.* Yr hyn a olygir wrth ddeddfau natur yw, fod yr un achosion yn yr un amgylchiadau yn cynyrchu yr un effeithiau, neu yn fwy priodol, fe allai, y rheolau sefydlog yn ol pa rai y mae Duw yn gweithredu yn gyffredin

yn y byd naturiol.* Nid yw yn angenrheidiol i beth fod yn *groes* i ddeddfau natur mewn trefn i fod yn wyrth. Y mae rhai o wyrthiau y Beibl felly, megis hollti y Môr Coch; peri i ddyfroedd yr Iorddonen sefyll yn bentwr, i wneud ffordd i feibion Israel fyned trwyddi; a chadw y tri llanc rhag cael niwed yn y ffwrn dân, &c. Yn y gwyrthiau hyn yr oedd gweithrediad rheolaidd rhai o ddeddfau natur yn cael ei *atal* ar y pryd, yn yr amgylchiadau neillduol hyny; canys deddf y dwfr oedd rhedeg i waered, ac nid sefyll yn bentwr, a deddf y tân oedd llosgi. Ond y mae eraill drachefn o wyrthiau y Beibl nad ydynt mewn un modd yn groes i ddeddfau natur, megys tyfiant a gwywdod cicaion Jonah; a throi y dwfr yn win, &c. Peth hollol gyson â threfn natur oedd i gicaion dyfu a gwywo, ond yr oedd tyfu a gwywo mor gyflym ag y gwnaeth hwnw yn wyrth. "Mewn noswaith y bu, ac mewn noswaith y darfu." Mae natur hefyd yn troi dwfr yn win bob blwyddyn, trwy offerynoliaeth y winwydden; ond nid unrhyw allu sydd mewn natur a drodd y dwfr yn win yn y briodas yn Cana. Yr oedd y weithred hono o ganlyniad yn wyrth. Gwelir oddiwrth yr ychydig engreifftiau hyn nad yw gwyrthiau o angenrheidrwydd yn weithredoedd gwrthwyneb i natur; ond y mae pob gwyrth yn wyrad oddiwrth, neu yn weithred uwchlaw, deddfau adnabyddus natur. Mae yn angenrheidiol bod yn hysbys i ryw raddau o ddeddfau natur mewn trefn i wybod beth sydd yn wyrth; canys heb hyny nis gellir gwybod beth sydd uwchlaw iddynt. Gall dygwyddiad fod yn anesboniadwy i'r tystion o hono heb fod yn oruwchnaturiol. Wedi i Columbus lanio ar dir America, dywedir iddo, i'r dyben o osod ei arswyd ar yr Indiaid, a'u gwneud yn ufudd i'w geisiadau, fygythio y byddai iddo ef dywyllu y lleuad ar awr benodol. Pan ddaeth yr adeg, wele orchudd o

* Eithafion ffolineb yw siarad am ddeddfau natur fel pe byddent yn rhyw achosion neu alluoedd ynddynt eu hunain, yn annibynol ar, ac ar wahan oddiwrth, Greawdwr natur. Esboniad y Gwaredwr ar weithrediadau natur oedd, "Y mae *fy Nhad yn gweithio* hyd yn hyn. Y mae *efe* yn peri i'w haul godi ar y drwg a'r da, ac yn gwlawio ar y cyfiawn a'r anghyfiawn."

dywyllwch yn cael ei daenu dros wyneb brenhines y nos, yn ol y bygythiad, ac er mawr ddychryn i'r brodorion anwybodus. Ond nid oedd Columbus yn yr amgylchiad hwn yn gwneud dim ond cymeryd mantais ar anwybodaeth yr Indiaid ; canys yr oedd y diffyg ar y lloer yn cael ei ddwyn oddiamgylch trwy achosion naturiol, heb iddo ef wneud dim ond yn unig ei ragfynegi. Fel hyn y mae yn eglur y gall peth fod yn wyrth yn ngolwg dynion anwybodus, pan na byddo felly mewn gwirionedd. Byddai yr hen bobl yn fynych yn brawychu pan welent y goleuni gogleddol, am y tybient ei fod yn arwydd goruwchnaturiol o ryfel neu newyn, neu ryw drychineb erchyll o'r fath, pan mewn gwirionedd nad oes dim yn fwy goruwchnaturiol ynddo nag sydd yn ymddangosiad yr enfys amryliw. Mae llawer o'r effeithiau a gynyrchir gan fferylliaeth a mesmeriaeth, ac o'r campau a gyflawnir gan dwyll-chwareuwyr, yn rhyfedd ac anesboniadwy i'r werin ; ond nid ydynt er hyny yn wyrthiau ; canys y mae yn ddigon sier nad ydynt yn cael eu cyflawni trwy gynorthwy na chyfryngiad uniongyrchol Duw. Ond y mae gwyrthiau gwirioneddol yn apelio yn wastad at ein gwybodaeth, ac nid at ein hanwybodaeth. Y maent yn ddygwyddiadau y byddo yn ddigon hysbys nad oes un ddeddf mewn natur, nac un gallu sydd yn meddiant dyn, a allasai eu dwyn oddiamgylch. Pe byddai i feddyg medrus agoryd llygaid dyn dall mewn mynydyn, trwy iro ei lygaid â rhyw eli hollol anadnabyddus i ni, byddai yr effaith yn ddiau yn rhyfedd yn ein golwg, ond ni ddylem er hyny ystyried y peth yn wyrth, am y gallai fod cymhwysder naturiol yn yr eli i adferyd ei olwg i'r dall. Ond pe byddai iddo roddi ei olwg i'r dall â gair yn unig, neu trwy iro ei lygad â chlai a phoeryn, ni phetrusem alw hyny yn wyrth ; canys yr ydym yn gwybod yn dda nad oes unrhyw rinwedd naturiol mewn gair, nac mewn clai a phoeryn i agoryd llygaid y dall. Gwelwyd weithiau rai personau a ymddangosent fel wedi boddi yn hollol, yn cael eu hadferyd drachefn, o dan driniaeth briodol, er mawr lawenydd i'w perthynasau a'u

cyfeillion. Gall adfywioccâd a dadebriad fel hyn ymddangos yn dra rhyfedd; ond nid oes dim yn wyrthiol ynddo, am fod cymhwysder naturiol yn y moddion a arferir i gynyrchu y fath effeithiau dymunol. Ond pan welom un oedd wedi marw mewn gwirionedd, ac nid mewn ymddangosiad yn unig, ac wedi bod yn y bedd am bedwar diwrnod, yn dyfod allan yn fyw ac yn iach mewn moment, ar air Crist, yr ydym yn rhwym o gyfaddef fod yma wyrth; canys nid oedd unrhyw achosion naturiol, na gallu dynol a allasai gyflawni y fath weithred ogoneddus. Gwir y ceisia yr anffyddiwr Spinoza wrthddadleu fod gwyrthiau y Beibl yn cael eu cynyrchu gan ryw ddeddfau naturiol, ond anadnabyddus. Ond pe felly, pa fodd atolwg, na byddai yr un deddfau yn cynyrchu yr un effeithiau eto, yn yr un amgylchiadau? Mae dynion yn barhaus yn yr un amgylchiadau â'r bobl y gwnaed gwyrthiau arnynt, ac yn eu plith, yn nyddiau y Gwaredwr; ond nid oes dim ffeithiau fel gwyrthiau y Beibl wedi eu cyflawni mewn unrhyw oes na gwlad arall. Mae hyn ar unwaith yn profi, yn y modd mwyaf penderfynol, fod gwyrthiau Crist yn weithredoedd goruwchnaturiol.

Y mae gwyrth yn wastad yn ddygwyddiad anghyffredin, pe amgen ni byddai yn wyrth o gwbl; ond nid yw pob dygwyddiad anghyffredin a rhyfedd er hyny yn wyrth. Dywedir mai unwaith mewn can' mlynedd y mae y pren aloes yn blodeuo. Y mae ei weled yn blodeuo gan hyny yn olygfa anarferol a rhyfedd; ond nid oes dim gwyrth yn hyny mwy nag sydd yn ngwaith y pren afalau yn blodeuo bob gwanwyn. Nid yw ymddangosiad annysgwyliadwy y comed, fyddo wedi bod o'r golwg am bum' cant o flynyddau, yn wyrth, mwy nag ymddangosiad cyson a rheolaidd y lloer. Y mae y naill yn gystal â'r llall yn ymddangos yn ol deddfau sefydlog anian.

Y mae yn ddadl yn mhlith duwinyddion pa un a all ysbrydion drwg wneud gwyrthiau, ond i Dduw ganiatau iddynt, a pha un a oes sail i feddwl ei fod yn goddef iddynt

wneuthur hyny ar rai achlysuron. Y peth a ymddengys i mi yn debycaf i wirionedd ar y mater hwn yw, nad oes neb ond Duw yn unig a ddichon wneud gwyrth *wirioneddol;* ac na wnaed gwir wyrth erioed gan hyny o blaid cyfeiliornad ac anfoesoldeb. O'r tu arall, y mae yn dra thebygol fod angelion da, a drwg, yn gydnabyddus â llawer o ddirgelion natur; ac y mae yn sicr eu bod yn rhagori yn ddirfawr ar ddyn mewn gallu a gwybodaeth, a chan y gwyddom y gall rhai dynion wneud rhyfeddodau sydd yn mhell uwchlaw amgyffred a gallu dynion eraill, y mae yn naturiol i ni feddwl y dichon i ddiafol a'i angelion, y rhai sydd yn meddu gallu a chyfrwysdra annhraethol uwch na'r eiddo dyn, gyflawni gweithredoedd a ymddangosent i ddynion yn wyrthiau. Ac y mae y Beibl yn awgrymu, debygid, yn eglur eu bod yn cael eu goddef i wneud hyny ar brydiau, i'r dyben o brofi dynion :—"Pan godo yn dy fysg di broffwyd, neu freuddwydydd breuddwyd, a rhoddi i ti arwydd neu ryfeddod, a dyfod i ben o'r arwydd neu y rhyfeddod a lefarodd efe wrthyt, gan ddywedyd, Awn ar ol duwiau dieithr, y rhai nid adwaenost, a gwasanaethwn hwynt; Na wrando ar eiriau y proffwyd hwnw, neu ar y breuddwydydd breuddwyd hwnw: canys yr Arglwydd eich Duw sydd yn eich profi chwi, i wybod a ydych yn caru yr Arglwydd eich Duw â'ch holl galon, ac â'ch holl enaid." (Deut. xiii. 1—3.) "Canys cyfyd gau gristiau a gau broffwydi, ac a roddant arwyddion mawrion a rhyfeddodau, hyd oni thwyllent, pe byddai bosibl, ïe, yr etholedigion." (Math. xxiv. 24.) "Yr hwn y mae ei ddyfodiad yn ol gweithrediad Satan, gyda phob nerth, ac arwyddion, a rhyfeddodau gau." (2 Thes. ii. 9.) "Y mae efe yn gwneuthur rhyfeddodau mawrion, hyd onid yw yn peri i dân ddisgyn o'r nef i'r ddaear, yn ngolwg dynion; ac y mae efe yn twyllo y rhai sydd yn trigo ar y ddaear, trwy y rhyfeddodau y rhai a roddwyd iddo ef i'w gwneuthur ger bron y bwystfil." (Dad. xiii. 13, 14.) "Ysbrydion cythreuliaid yn gwneuthur gwyrthiau ydynt, &c." (Dad. xiv. 16.) Ymddengys mai yr esboniad mwyaf

naturiol ar y gwahanol adnodau hyn yw, fod ysbrydion drwg yn cael eu goddef ar rai amserau i wneud rhyfeddodau, naill ai yn uniongyrchol, neu ynte trwy offerynoliaeth dynion drwg, a ymddangosant yn debyg i wyrthiau. Ar yr un pryd, nid ydynt yn wyrthiau mewn gwirionedd; ond "arwyddion a rhyfeddodau *gau*" ydynt. "Y mae yn beth heb ei brofi eto," medd Mansel, "fod ysbrydion drwg wedi llwyddo erioed i wneud cymaint ag un wyrth wirioneddol o blaid cyfeiliornad a thwyll."* Y mae yn debygol fod gwyrthiau gau wedi eu gwneud o bryd i bryd i gefnogi athrawiaeth gelwyddog; ond nid yw yr Arglwydd byth yn goddef i arch-elyn dynolryw gyflawni rhith-wyrthiau heb fod digon o oleuni yn cael ei drefnu bob amser i alluogi y tystion o honynt i adnabod eu hawdwr, ac i gadw y rhai fyddont yn ymofyn am y gwirionedd rhag cael eu twyllo gan dad y celwydd. Ymddengys fod Satan yn cael ei oddef i gyflawni "rhyfeddodau gau," nid yn unig er mwyn profi dynion; ond hefyd i roddi achlysur i allu Duw ddysgleirio yn amlycach yn ninystr gweithredoedd y diafol, ac yn nymchweliad ei deyrnas; ac felly y mae yr Arglwydd yn wastad yn dwyn daioni allan o'r drwg, ac yn peri i gynddaredd ysbrydion drwg, yn gystal â chynddaredd dynion drwg, ei folianu.

Mae yn amlwg oddiwrth y sylwadau blaenorol, y rhaid i weithred gynwys yr elfenau canlynol cyn y gellir ei hystyried yn wyrth :—

1. *Rhaid iddi fod yn weithred oruwchnaturiol.* Meddylier am ddyn "yn bwrw had i'r ddaear; ac yn cysgu a chodi nos a dydd, a'r had yn egino ac yn tyfu, y modd nis gŵyr efe ;" y mae lliosogi un gronyn, a pheri iddo dyfu i fynu yn ronynau lawer, yn amlygiad llawn mor rhyfedd o allu dwyfol ag oedd porthi y miloedd â'r pum' torth yn yr anialwch ; ond nid yw tyfiant yr ŷd er hyny yn wyrth, am fod y peth yn cael ei ddwyn oddiamgylch trwy weithrediad rheolaidd deddfau natur : "Canys y ddaear a ddwg ffrwyth

* Gwel "*Aids to Faith*," tudal. 33.

o honi ei hun; yn gyntaf yr eginyn, ar ol hyny y dywysen, yna yr ŷd yn llawn yn y dywysen." (Marc iv. 28). Ond nid deddfau natur a wnaeth y pum' torth yn ddigon i ddiwallu pum' mil o wŷr, heb law gwragedd a phlant. Y mae i'r plentyn bach dyfu a dyfod yn ddyn, yn beth llawn mor rhyfedd ynddo ei hun ag yw i'r marw ddyfod yn fyw drachefn; eto nid gwyrth yw i'r plentyn ddyfod yn ddyn; oblegid y mae ei dyfiant yn effaith deddf naturiol. Ond nid oes yr un ddeddf mewn natur a ddichon ddwyn y marw yn ol o'i fedd. Nid effaith heb achos iddi yw gwyrth; ond y mae yn effaith a'r achos o honi o'r tu allan i gylch natur.

2. *Rhaid iddi fod uwchlaw gallu dyn i'w chyflawni.* Er fod pob gwyrth yn weithred oruwchnaturiol, eto nid yw pob gweithred oruwchnaturiol yn wyrth; oblegid y mae dyn yn alluog i gyflawni rhyw fath o weithredoedd goruwchnaturiol. Yr wyt ti, ddarllenydd hynaws, yn gwneud hyny pan yn codi y llyfr yma oddiar y bwrdd; canys yn ol deddf fawr attyniad gorweddai y llyfr yn llonydd ar y bwrdd yn barhaus. Gellid nodi enghreifftiau yn ddi-ddiwedd o'r un peth. Fel y sylwa Bushnell, ni wnaeth natur erioed na thŷ, na gwisg i neb, ac ni ddarfu iddi erioed adeiladu llong, na dyfeisio ager-beiriant, nac ysgrifenu llyfr. Fel hyn y mae yn eglur fod gan ddyn lywodraeth helaeth ar natur a'i deddfau, ac y gall eu rheoli, eu hatal, a'u gwrthweithio i ryw raddau. Y mae yn bosibl i ddynion medrus a chyfrwys osod rhyw alluoedd sydd mewn natur ar waith i gynyrchu llawer o effeithiau rhyfedd. Y mae pethau hynod yn cael eu gwneud gan swynwyr a dewiniaid; ond nid ydynt yn wyrthiau, gan nad ydynt uwchlaw gallu dyn. Ond gŵyr pawb fod agoryd llygaid y dall â chlai a phoeryn; porthi saith neu wyth mil o bobl â phum torth a dau bysgodyn; ac adgyfodi y meirw, yn weithredoedd sydd yn gofyn gallu anfeidrol uwch na gallu dyn i'w cyflawni. Yn briodol y dywedai Nicodemus wrth yr hwn oedd yn gwneud y pethau hyn a'r cyffelyb, "Rabbi, nyni a wyddom mai dysgawdwr ydwyt ti wedi dyfod oddiwrth Dduw: cany

ni allai neb wneuthur y gwyrthiau hyn yr wyt ti yn eu gwneuthur, oni bai fod Duw gydag ef." (Ioan iii. 2.)

3. *Rhaid i wyrth fod yn weithred y gall synwyrau corfforol dynion, megis eu llygaid a'u clustiau, &c., ei phrofi a'i chwilio.* Y mae eisieu cymaint o allu i aileni pechadur ag i adgyfodi Lazarus; ond nid yw adenedigaeth yn wyrth. yn ystyr gyffredin a phriodol y gair, am nad yw yn beth y gellir ei weled â'r llygaid. Nis gall gwyrth ateb un dyben na gwasanaeth oddieithr iddi fod yn beth fyddo yn dyfod i gyffyrddiad â dynion trwy gyfrwng eu synwyrau corfforol, neu mewn geiriau eraill, yn beth y gellir ei gweled, ei chlywed, ei theimlo, ei harchwaethu, neu ei harogli. Yr oedd holl wyrthiau Crist yn apelio at un neu ragor o synwyrau dynion.

4. *Rhaid i wyrth feddu rhyw amcan pwysig, a theilwng o gyfryngiad uniongyrchol Duw.* Byddai yn hollol anghyson â doethineb a mawredd Duw, i ni feddwl y byddai iddo fyned allan o'i drefn gyffredin o weithredu, heb fod ganddo ryw amcan anghyffredin i'w gyrhaedd trwy hyny, megis profi gwirionedd rhyw athrawiaeth bwysig, neu gadarnhau dwyfol anfoniad rhyw berson neillduol. A chabledd fyddai i ni dybied am foment y gwnai yr Arglwydd wyrth i gefnogi unrhyw weithred nac athrawiaeth fyddo yn anghyson â'i natur ef, fel Bôd cyfiawn a santaidd. Mae mor anmhosibl i'r Anfeidrol wneud gwyrth o blaid anfoesoldeb a chelwydd ag ydyw iddo farw. "Nis gall efe ei wadu ei hun." Ar y tir yma yr ydym yn rhwym o anghredu gwyrthiau honedig y Pabyddion a'r Mormoniaid, gan fod yr athrawiaethau a gysylltir â hwynt yn gyfeiliornadau amlwg yn ngwyneb y Beibl: "Anwylyd, na chredwch bob yspryd, eithr profwch yr ysprydion ai o Dduw y maent: oblegid y mae gau broffwydi lawer wedi myned allan i'r byd." (1 Ioan iv. 1.)

## PENNOD II.

### Y GWYRTHIAU YN DEILWNG O BOB CREDINIAETH.

Wedi ceisio rhoddi desgrifiad mor gywir ac eglur ag y gallaswn o wyrth, yn y bennod flaenorol, fy ngorchwyl yn awr yn y bennod hon, fydd ymdrechu profi fod Sylfaenydd ein crefydd wedi cyflawni gweithredoedd o'r fath. Os gwnaeth efe y gweithredoedd a briodolir iddo, y mae yn sicr ei fod wedi gwneud gwyrthiau; canys honir iddo greu ymborth i filoedd; agoryd llygaid y deillion â gair yn unig; rhodio ar y môr; a chyfodi y meirw, &c. Rhaid addef fod y gweithredoedd hyn a'r cyffelyb, yn wyrthiau diamheuol, os gwnaed hwynt. Ond y cwestiwn yw, A oes genym brofion digonol iddynt gael eu cyflawni mewn gwirionedd? Tuag at roddi boddlonrwydd i feddwl pob darllenydd diragfarn, o berthynas i'r mater pwysig hwn, caf yn awr amcanu dangos fod gwyrthiau yn *bosibl*, yn *angenrheidiol*, yn *debygol*, ac yn *sicr*.

### I. Y mae Gwyrthiau yn bosibl.

Y mae pob gwrthddadl a gynygir yn erbyn eu posiblrwydd, yn mha ddull bynag y gosodir hi allan, yn tarddu naill ai o annuwiaeth *(atheism)*, neu ynte o holl-dduwiaeth *(pantheism)*.* Os addefwn fodolaeth Duw, a'i bersonoliaeth, yr ydym yn rhwym o addef hefyd nad oes unrhyw anmhosiblrwydd *naturol* i wyrthiau gael eu cyflawni. Y mae

* Nid oes genym air Cymraeg, eglur a dealladwy, am *pantheism*; a hyny oherwydd fod y syniad, trwy drugaredd, yn beth dieithr, ac annadnabyddus yn Nghymru. Dyna yw *pantheism*, ceisio addef bodolaeth Duw, a gwadu ei bersonoliaeth. Mae y gyfundraeth oer a niwliog hon yn gwneud Duw a natur yn un. Dadleua nad oes ond un hanfod yn y bydysawd; ac nad yw pob peth a welir ond gwahanol ffurfiau o'r hanfod hwnw; ac na allasai Duw gynyrchu dim ond fel y mae. Felly nid oes gan dduw y *pantheist* unrhyw lywodraeth ar natur, ac ni fedd ewyllys i ddewis, na chalon i garu; a'r ffolineb mwyaf fyddai gweddio arno a'i addoli gan mai *peth* ac nid *person* ydyw.

Hollalluogrwydd Duw yn ein rhwymo i gredu hyny. Gwir mai efe sydd wedi ordeinio a sefydlu deddfau natur, eto nid ydyw yn rhwym o weithredu, yn mhob amgylchiad yn ddieithriad, yn unol â'r deddfau hyny; ond gall ŵyro oddiwrthynt, a gweithredu yn uniongyrchol, ac yn annibynol arnynt, pa bryd bynag y gwelo yn dda. "A fydd dim yn anhawdd i'r Arglwydd?" Na fydd yn ddïau; canys "gyda Duw pob peth sydd bosibl." Yr oedd yn haws i Dduw atal awrlais mawr y greadigaeth, yn amser Josuah, trwy beri i'r haul sefyll yn Gibeon, a'r lleuad yn nyffryn Ajalon, nag ydyw i ddyn roddi ei oriawr i sefyll. Drachefn, nid oes anmhosiblrwydd *moesol* ychwaith i wyrthiau, fel y rhai a gofnedir yn y Beibl, gael eu cyflawni; canys nid ydynt mewn un modd yn anghyson â doethineb, daioni, a santeiddrwydd Duw.

Haera Spinoza, a'r rhai sydd yn coleddu yr un golygiadau ag ef am Dduw a natur,—mai ewyllys Duw ydyw deddfau natur, a chan fod ewyllys a hanfod Duw yn anghyfnewidiol fod deddfau natur felly hefyd; ac o ganlyniad fod gwyrthiau yn anmhosibl. Ond y mae yr wrthddadl hon yn seiliedig ar syniadau cyfeiliornus am Dduw, am natur, ac am wyrth. Nid yw natur ar y goreu, ac yn neillduol cymaint o honi ag sydd yn adnabyddus i ni, ond datguddiad rhanol a hanerog o Dduw; ac y mae y gwyrthiau yn ddatguddiad *ychwanegol* o'i ewyllys; ac heblaw hyny, nid yw y greadigaeth, fel y mae yn bresenol, yn ddatguddiad cywir o ewyllys Duw; canys y mae pechod wedi dyfod i mewn iddi, ac wedi ei chythryblu. Y mae yn deilwng o'n sylw hefyd, nad yw anghyfnewidioldeb Duw yn profi fod trefn natur yn anghyfnewidiol. Y mae y ddeddf foesol yn beth nas gall Duw ei hunan ei diddymu, na'i chyfnewid; ond nid felly am ddeddfau anianyddol. Nid ar *natur* y Creawdwr, ond ar ei *ewyllys*, y mae y greadigaeth yn ymddibynu; "oherwydd dy ewyllys di y maent, ac y crewyd hwynt"; ac am hyny gall gyfnewid neu ddifodi y greadigaeth pan y myno. "Tydi yn y dechreuad, Arglwydd, a sylfaenaist y ddaear, a gwaith

dy ddwylaw di yw y nefoedd. Hwynt-hwy a ddarfyddant; ond tydi sydd yn parhau: a hwynt-hwy oll fel dilledyn a heneiddiant; ac megis gwisg y plygi di hwynt, a hwy a newidir; ond tydi yr un ydwyt, a'th flynyddoedd ni ddarfyddant." (Heb. i. 10—12.)

Ond nid yw gwyrthiau yn cyfnewid nac yn dyrysu dim, fel yr haera yr wrthddadl dan sylw, ar ddeddfau natur. Pan y mae dyn yn codi ei fraich,—yn taflu carreg, neu yn rhwyfo bâd, y mae yn gwneuthur peth croes i ddeddf attyniad; ond nid ydyw yn diddymu nac yn cyfnewid y ddeddf fawr hono; eithr y mae hi yn parhau i weithredu yn ddibaid trwy yr holl greadigaeth, yr un fath yn hollol a phe buasai y fraich heb ei chodi, y garreg heb ei symud, a'r bâd heb ei rwyfo. A'r un modd pan y mae Duw, trwy ei gyfryngiad uniongyrchol, yn cyflawni gweithred fyddo yn groes i drefn sefydlog anian, neu yn ŵyrad oddiwrth ddeddfau natur, nid ydyw wrth hyny yn cyfnewid nac yn dyrysu dim ar weithrediadau cyffredinol y deddfau hyn. Nid yw gwyrth yn arwyddo fod un cyfnewidiad yn y meddwl Dwyfol ychwaith; canys y mae y gwyrthiau oll wedi eu rhagordeinio a'u harfaethu ganddo er tragywyddoldeb, fel gweithrediadau cyffredin ei ragluniaeth. I ddynion yn unig yr oeddynt yn bethau newydd ac annisgwyliadwy, ac nid i Dduw; canys nid oeddynt yn ddim amgen na dadblygiadau o

"Feddyliau hen y Duwdod,
Cyn gosod sylfaen byd."

Drachefn, mae gwyddoniaeth ei hunan wedi profi yn annatebadwy erbyn hyn fod gwyrthiau yn bosibl; canys y mae wedi cael allan fod llawer o wyrthiau mawrion wedi eu gwneud gan Dduw yn y byd yma cyn i ddynion ddyfod iddo erioed. Y mae hanes y gwyrthiau hyny wedi ei "ysgrifenu yn y graig dros byth," ac felly y mae Daearegwyr yn darllen hanes gwyrthiau ar ddalenau mawrion llyfr natur ei hun. Ceir gweddillion gwahanol fathau o lysiau a chreaduriaid—hollol wahanol i

ddim sydd yn y byd yn awr—yn yr amrywiol haenau o greigiau sydd yn cyfansoddi crystyn y ddaear, ac y mae Daeareg wedi profi, os profwyd unrhyw ffaith gan wyddoniaeth erioed, i'r gwahanol rywogaethau hyn o greaduriaid gael eu dwyn i fod, nid ar unwaith, ond mewn cyfnodau olynol, a hyny nid trwy i'r naill greadur gynyrchu creadur arall o rywogaeth hollol wahanol, ac uwch nag ef ei hun; ond trwy gael eu creu gan allu dwyfol. Yn awr, onid oedd dwyn rhywogaeth newydd o greaduriaid i fod yn gymaint gwyrth ag oedd adgyfodi Lazarus? Nis gellir rhoddi un cyfrif tebyg i resymol am y modd y daeth dyn i fod heb addef iddo gael ei ddwyn i fod, fel yr hona y Beibl, trwy wyrth greadigol. Pe gwelem ryw greadur yn cael ei ddwyn i fod yn bresenol, am y waith gyntaf, fyddai gymaint uwchlaw dyn ag ydyw dyn uwchlaw y creaduriaid direswm, onid ystyriem ddygiad y fath greadur a hwnw i fod yn wyrth? Os felly, onid ydym yn rhwym o addef fod creadigaeth y dyn cyntaf yn wyrth? Y mae ymchwiliadau y gwyddonwyr enwocaf yn profi fod gwyrthiau lawer wedi eu cyflawni i'r dyben o barotoi y byd yma i fod yn breswylfa addas i ddyn, ac mai trwy wyrth, fel y dywed y Beibl, y dygwyd y creadur rhyfedd o ddyn o'r diwedd i fod. Wel, os gellir dangos fod cymaint ag un wyrth wedi ei gwneud rywbryd, y mae hyny gystal â mil i brofi eu posiblrwydd.*

## II. Y MAE GWYRTHIAU YN ANGENRHEIDIOL.

Pe dygwyddai i'r ddaear ŵyro a chrwydro o'i chylchrod yn yr eangder, nis gellid byth ei hadferu yn ol i'w lle yn y gyfundrefn heulog heb wneud gwyrth. Byddai yn rhaid i'r haul ei hunan adael ei orsedd, a myned i chwilio am y blaned grwydredig, ac ymaflyd ynddi trwy ddylanwad nerthol ei attyniad, cyn y deuai hi byth yn ol. Felly hefyd wedi i ddyn

* "I mi y mae dwy wyrth o leiaf yn ddiamheuol," medd y dysgedig a'r enwog Bunsen, "sef creadigaeth y byd gan Dduw, a phrynedigaeth y byd gan Iesu Grist."

adael Duw, a myned ar gyfeiliorn, yr oedd yn anmhosibl byth ei adferu yn ol i ffafr a delw Duw, heb i gariad dwyfol wneud gwyrth anfeidrol fawr trwy anfon Mab Duw o fynwes ei Dad, i "geisio yr hyn a gollasid." Y mae cysylltiad naturiol rhwng pechod a thrueni; neu mewn geiriau eraill y mae mor naturiol i bechod wneud yr hwn a fyddo yn euog o hono yn druenus, ag ydyw i'r tân losgi y neb a syrthio iddo. Rhaid i Dduw wneud gwyrth cyn y cedwir y neb a syrthio i'r tân rhag cael ei losgi, ac felly hefyd wedi i ddyn syrthio i bechod nis gallesid ei waredu o'i drueni, a'i wneud yn ddedwydd byth, heb gyfryngiad goruwchnaturiol Duw. Nis gallasai y ddeddf yr oedd dyn dani byth ei gyfiawnhau a'i santeiddio, wedi iddo fyned yn bechadur. Yr oll a fedrai hi ei wneud oedd gorchymyn ufudd-dod, a chospi am anufudd-dod. Nid oedd ganddi unrhyw ddarpariaeth gogyfer a maddeu i'r troseddwr, a rhoddi tuedd i garu yn nghalon y gelyn. Felly yr oedd yn anmhosibl achub pechadur oddiwrth felldith y ddeddf, ond trwy waredigaeth wyrthiol. Trefn fawr y prynedigaeth yw y fwyaf a'r ryfeddaf o holl wyrthiau yr Anfeidrol. Mae holl wyrthiau eraill y Beibl yn troi o amgylch y wyrth fawr hon fel y planedau o amgylch yr haul. Yr oedd creadigaeth y byd yn wyrth ogoneddus; ond y mae prynedigaeth yr eglwys yn llawer rhyfeddach gwyrth. Nid yw y byd yma ond megis rhyw bentŷ *(shed)* a gododd Duw i fod yn weithdŷ i barotoi y defnyddiau i adeiladu ei eglwys, a phan orphenir y gwaith hwn fe dynir y byd yma i lawr. "Y nefoedd a ant heibio gyda thwrf, a'r defnyddiau gan wir wres a doddant, a'r ddaear a'r gwaith a fyddo ynddi a losgir," &c. Yr oedd Crist yn gallu creu y bydoedd â gair ei enau; ond yr oedd yn rhaid cael gwaed ei galon i brynu pechadur, a'r peth rhyfeddaf a welodd angel erioed oedd gweled ei Greawdwr yn marw dros ei greadur euog, oedd wedi meiddio gwrthryfela yn ei erbyn.

Drachefn, yr oedd gwyrthiau yn angenrheidiol i brofi dwyfol awdurdod y personau a anfonwyd gan Dduw i

ddatguddio ei feddwl a'i ewyllys i'r byd. Ni buasai datguddiad goruchnaturiol fawr o werth heb weithredoedd goruwchnaturiol i brofi ei ddwyfoldeb. Gan mai y llwybr a welodd Anfeidrol ddoethineb Duw yn oreu i ddatguddio ei feddyliau, a'i fwriadau i'r byd, oedd dewis rhyw bersonau neillduol o blith dynion, i wneud ei feddwl yn hysbys iddynt, ac anfon y rhai hyny drachefn i'w fynegi i'w cyd-ddynion, yr oedd yn angenrheidiol i'r personau hyny, allu rhoddi rhyw brofion boddhaol eu bod wedi eu hawdurdodi gan Dduw, i lefaru yn ei enw; canys heb hyny, gallasai y neb a fynai honi ei fod "yn ddysgawdwr wedi dyfod oddiwrth Dduw." Tybier fod rhyw ddyn yn dyfod atom, gan honi fod ganddo genadwri o bwys mawr i'w thraethu wrthym, oddiwrth gyfaill i ni, fyddai yn byw yn mhell o'n cyrhaedd; a thybier yn mhellach, nad oes dim yn y genadwri, o ran ei sylwedd, sydd yn anghyson â chymeriad ein cyfaill; ond ar yr un pryd ei bod yn un pur ryfedd, ac anghyffredin. Yn yr amgylchiad hwn byddai arnom eisieu rhyw brawf fod y dyn wedi ei anfon atom gan ein cyfaill, fel y mae yn honi. Wel, i'r dyben o roddi boddlonrwydd i ni ynghylch hyny, y mae y dyn yn tynu allan, ac yn dangos i ni ryw sel-fodrwy *(signet)* werthfawr, yr hon yr ydym yn ei hadnabod yn dda, fel eiddo ein cyfaill. Bellach, os ydym yn dawel ein meddwl nad yw y dyn wedi lladrata y fodrwy, yr ydym yn credu yn ddiamheuol ei fod wedi ei anfon gan ein cyfaill; canys gwyddom na buasai efe byth yn ymddiried y fodrwy werthfawr hono i un oedd yn estron iddo.* Rhywbeth cyffelyb i'r fodrwy yn yr amgylchiad hwn oedd y gwyrthiau: yr oeddynt yn bethau angenrheidiol i brofi dwyfol awdurdod y cenhadau a ddanfonwyd gan Dduw i ddatguddio ei feddwl a'i fwriadau i'r byd. Y mae yn wir fod llawer o athrwiaethau a gorchymynion moesol y Beibl, yn cynwys profion eglur o'u dwyfoldeb ynddynt eu hunain —y mae delw ac argraff Duw yn amlwg arnynt; ond ar yr un pryd y mae yr ysgrythyrau santaidd yn cynwys llawer

* Gwel "*Bases of Belief,*" tudal. 239.

o osodiadau pendant, ac o hysbysrwydd ynghylch byd dyfodol, &c., nad oedd un ffordd i brofi eu dwyfoldeb ond trwy wyrthiau. Ac heblaw hyny, gwyrthiau o Hollalluowgrwydd, neu o Hollwybodaeth, ydynt yr unig brofion y gall dynion cyffredin eu galluoedd a'u manteision, ddeall a theimlo eu cadernid a'u gwerth; a rhai felly yw y nifer liosocaf o ddynolryw yn mhob oes a gwlad. Mae awdwr y llyfr galluog hwnw "Athroniaeth Trefn Iechydwriaeth" (tudal. 19—22), yn gwneud y sylwadau canlynol ar yr angenrheidrwydd am wyrthiau i brofi dwyfoldeb y Beibl:—

"Mae y gosodiad canlynol," meddai, "yn wirionedd tu hwnt i bob dadl—*Nis gall dyn, dan gyfansoddiad presenol ei feddwl gredu fod un grefydd o darddiad dwyfol, os na fydd gwyrthiau yn cydfyned â hi.* Casgliad naturiol y meddwl ydyw, os gweithreda Bôd Anfeidrol, y bydd ei weithredoedd yn oruwchddynol o ran eu nodweddiad; oherwydd, mae rheswm yn ein dysgu, y bydd i'r effaith fod o'r un natur ag ydyw ei achos. Mae yr un rheswm gan ddyn i ddysgwyl y bydd i Dduw gyflawni gweithredoedd goruwch gallu a doethineb dynol, ag sydd ganddo i dybied y bydd i'r gweithredoedd a gyflawnir gan y creaduriaid direswm, fod islaw i'r cyfryw a gyflawnir drwy y gallu a'r doethineb a berthyn i'r natur ddynol. Oherwydd fel y mae yn naturiol i ddyn gyflawni gweithredoedd sydd goruwch gallu a gwybodaeth yr anifeiliaid ydynt is nag ef, felly, dywed rheswm fod yn naturiol i Dduw ddangos ei allu drwy foddion ac mewn ffyrdd sydd uwchlaw medr a gallu marwolion. O ganlyniad, os amlyga Duw ei hun mewn un modd—oddigerth iddo, mewn ymostyngiad at wendid dyn, wasgu ei amlygiadau o fewn cylch gallu dynol—byddai pob gweithred o eiddo gallu uniongyrchol Duw, i amgyffredion dynol, yn wyrth. Ond, pe byddai i Dduw gyfyngu ei holl weithredoedd o fewn terfynau moddion, ac offerynau dynol, byddai yn annichonadwy i ddyn wahaniaethu rhwng gweithredoedd y Duwdod a gweithredoedd y dyndod. A byddai i ddyn, os ystyriai fod unrhyw weithredoedd o darddiad dwyfol, a hwythau yn eglur o fewn cylch gallu dynol, sefyll yn erbyn ei reswm ei hunan.

"Tybiwch, er engraifft, fod Duw wedi ewyllysio datguddio crefydd i ddynion, a dymuno iddynt gydnabod ei gymeriad a'i haelfrydedd yn rhoddi y datguddiad hwnw: tybiwch, ymhellach, fod Duw yn rhoddi y cyfryw ddatguddiad, a bod pob ymddangosiad a phob gweithred gysylltiedig â'i ddygiad ymlaen, heb ddim i'w nodweddu a'i arddangos uwchlaw gallu dynol: a allai unrhyw feddwl rhesymol ar y ddaear gredu fod y fath gyfundraeth o grefydd wedi dyfod oddiwrth

Dduw? Mae yn annichonadwy! Gallai dyn mor hawdd gael ei ddwyn i gredu fod ei blentyn ei hun, yr hwn a ddwg ei ddelw, ac a gyfranoga o'i natur, yn perthyn i ryw fyd arall, ac i ryw radd arall o greaduriaid. Ni buasai yn ddichonadwy i Dduw argyhoeddi dynion fod crefydd wedi deilliaw o'r nefoedd, oddieithr fod arwyddion o allu dwyfol yn cydfyned â hi.

"Tybiwch, eto, fod i ryw ddyn ymddangos mewn gwlad baganaidd neu Gristionogol—gan honi ei fod yn ddysgawdwr wedi ei anfon oddiwrth Dduw, eto heb gymeryd arno gyflawni unrhyw wyrthiau. Nid yw yn proffesu gwneuthur dim sydd uwchlaw gallu a doethineb dynion eraill. Nis gallai y fath berson, er iddo fedru llwyddo i enill proselytiaid i ryw olygiad neillduol perthynol i grefydd a gredid yn barod, byth wneuthur i ddynion gredu ei fod wedi cael ei anfon gan Dduw i sefydlu crefydd newydd, am yr unig reswm nad oedd ganddo ddim gwell seiliau na'i gymdeithion, i sefydlu ei honiad fel goruchwyliwr yr Hollalluog. Ond pe gallai argyhoeddi rhyw berson ei fod wedi cyflawni gwyrth, neu fod ganddo allu i wneuthur hyny, sefydlid ei honiad y mynyd hwnw, yn y meddwl hwnw, fel cenad anfonedig o'r nef. Mor sicr, a phenderfynol, y parcha ac y dysgwylia meddyliau dynion wyrthiau fel arwyddion o'r presenoldeb dwyfol.

"Mae gofyniad y meddwl am wyrthiau, fel prawf o'r presenoldeb a'r gallu dwyfol, yn naturiol i bob dyn; a phe byddai i'r dynion hyny ag ydynt wedi amheu bodolaeth neu yr angenrheidrwydd am wyrthiau, chwilio i mewn i'w hargyhoeddiadau eu hunain ar y pwnc hwn, canfyddent eu bod yn anhebgorol angenrheidiol, os dymunant roddi i'r byd gyfundraeth o grefydd, pa un bynag ai gwirionedd ai twyll fyddo, er mwyn dwyn dynion i'w derbyn fel crefydd o awdurdod ddwyfol, iddynt gyflawni gwyrthiau er profi ei gwirionedd, neu wneud i ddynion gredu eu bod wedi gwneuthur hyny. Nis gall dynion gynyrchu amheuaeth o ddatguddiad mewn un modd nes iddynt ddinystrio y prawf o'i wyrthiau; ac nis gellir cynyrchu ffydd yn nharddiad dwyfol crefydd nes i'r prawf o wyrthiau gael ei osod ger bron.

"Mae y gred mai gwyrthiau ydyw y gwir brawf o weithrediad dwyfol uniongyrchol, mor gydweddol â rheswm, fel y gwna dynion, mor gynted ag y darbwyllant eu hunain eu bod yn oruchwylwyr penodol Duw, er taenu rhyw wirionedd neillduol yn y byd, fabwysiadu hefyd y dyb eu bod yn feddianol ar allu i gyflawni gwyrthiau. Mae llawer o benboethiaid tra didwyll wedi bod o bryd i bryd, y rhai a gredent eu bod yn oruchwylwyr penodol y nef; ac oddiar y dyb hon; cyfodai o angenrheidrwydd y gred o'u gallu i gyflawni gwyrthiau. O'r cyfryw, mewn amseroedd diweddar, gallwn grybwyll Emanuel Swedenborg, ac Irving, y pregethwr Ysgotaidd. Twyllwyr hefyd, yn canfod fod gwyrthiau yn ofynol er i'r meddwl dynol dderbyn cref-

ydd fel un ddwyfol, ydynt bob amser wedi honi iddynt eu hunain allu i gyflawni gweithredoedd gwyrthiol. Mae engreifftiau o hyn yn dygwydd yn wastadol, o ddyddiau Elymas i lawr i Joseph Smith y Mormoniad.

"Cafodd yr holl grefyddau twyllodrus a dderbyniwyd er dechreuad y byd, eu dwyn i mewn drwy rym a dylanwad yr egwyddor hon. Mae crediniaeth o wyrthiau yn gorwedd wrth wraidd yr holl grefyddau a dderbyniwyd erioed gan ddynion fel o darddiad dwyfol. Nid oedd o gymaint pwys pa mor iselwael neu groes i reswm mewn ystyriaethau eraill a fyddent, mae y ffaith o'u sefydliad a'u dygiad ymlaen yn deillio oddiar grediniaeth dynion fod gallu gwyrthiol yn gorwedd yn y gwaelod. Gwna y gred hon roddi cylchrediad i unrhyw gyfundraeth, pa mor wrthun bynag fyddo; ac hebddi, nis gellir sefydlu unrhyw gyfundraeth yn meddyliau dynion, pa mor oruchel bynag fyddo ei tharddiad a'i hamcan.

"Y cyfryw, gan hyny, ydyw y cyfansoddiad a roddwyd gan y Creawdwr i'r meddwl. Pa un bynag ai rhyw allu greddfol neu naturiol, ynte casgliad o eiddo y rheswm ydyw y dyfarniad hwn, Duw ydyw yr achos gwreiddiol o hono, ac y mae yn peri fod dyn yn analluog i dderbyn datguddiad hyd yn nod gan Dduw ei hun, heb fod arwyddion gwyrthiol yn cydfyned ag ef. O ganlyniad, os byddai i Dduw byth roddi datguddiad i ddyn, yr oedd o angenrheidrwydd yn gydfynedol â gwyrthiau, a'r gwyrthiau hyny o'r fath natur ag i arddangos, yn y modd egluraf, gymeriad dwyfol ac awdurdod dwyfol yr oruchwyliaeth."

## III. Y MAE GWYRTHIAU YN DEBYGOL O GYMERYD LLE MEWN AMGYLCHIADAU NEILLDUOL.

Wrth edrych arnynt ynddynt eu hunain, ac yn eu perthynas â threfn gyffredin natur, y maent yn ymddangos yn bethau tra anhebygol o gymeryd lle. Ond y mae yn bosibl i beth fod yn dra anhebygol ynddo ei hun, ac ar yr un pryd ddyfod mewn rhyw amgylchiadau neillduol yn beth tebygol iawn o gymeryd lle. Tybier fod rhyw ddyben teilwng o gyfryngiad uniongyrchol Duw i gael ei gyrhaedd trwy wyrthiau, a'r dyben goruchel hwnw yn gyfryw ag nas gallesid ei gyrhaedd hebddynt, yna y maent yn y fan yn dyfod yn debygol. Yn awr, y mae yn wybyddus fod gan yr Arglwydd ddwy lywodraeth, sef ei lywodraeth foesol ar ei greaduriaid rhesymol ac anfarwol, a'i lywodraeth naturiol ar y byd materol, a'r creaduriaid direswm. Nid oes eisieu cymeryd

unrhyw drafferth i geisio profi a dangos pa un o'r ddwy dalaeth yma o'r llywodraeth ddwyfol yw y bwysicaf; canys y mae yn eglur i bawb fod bodau rhesymol ac anfarwol, yn rhagori yn ddirfawr ar wrthddrychau materol a difywyd, ac ar yr anifeiliaid a ddyfethir. Yn awr, gan fod lles a daioni y byd moesol yn annhraethol bwysicach na gweithrediad unffurf a rheolaidd trefn natur, a chan y gwyddom hefyd fod y naill ddeddf anianyddol yn aml yn cael ei rheoli a'i hatal yn ei gweithrediadau, gan ryw ddeddf anianyddol arall, fwy a chryfach, onid yw yn beth tra thebygol y byddai i'r Creawdwr anfeidrol ddoeth a da atal gweithrediad rhai o ddeddfau sefydlog anian, neu ŵyro oddiwrth drefn gyffredin natur, ar ryw achlysuron neillduol, os byddai lles a dedwyddwch diddiwedd deiliaid ei lywodraeth foesol yn galw am hyny? Y mae Dr. Wardlaw yn egluro y mater yma drwy gymhariaeth rywbeth yn debyg i hyn:—Tybier fod rhyw gelfyddydwr deallus wedi gwneud peiriant cywrain, i ryw bwrpas neillduol. Y mae pob rhan o'r peiriant yn gweithio yn ardderchog, ac yn eglur ddangos athrylith yr hwn a'i lluniodd. Y mae yn gweithio mor dda, ac yn ateb ei ddyben mor rhagorol, fel y mae yn anmhosibl dymuno na dychymygu unrhyw welliant arno. Yn yr amgylchiadau hyn y tebygolrwydd yw na feddyliai y gwneuthurwr am wneud unrhyw gyfnewidiad yn y peiriant, gan ei fod eisoes mor berffaith fel y byddai unrhyw gyfnewidiad a wneid arno yn rhwym o'i niweidio a'i waethygu. Cedwid y peiriant gan hyny i droi ac i weithio, yn rheolaidd a chyson, er mawr foddhad i'r hwn a'i dyfeisiodd, ac er hyfrydwch a syndod i bawb a gaent gyfleusdra i'w weled a'i chwilio. Ond tybier yn awr fod amgylchiad yn dygwydd, yn yr hwn y byddai gadael i'r peiriant barhau i droi yn rheolaidd fel arferol yn peryglu bywyd dynol—ac y gellid trwy ei atal am ychydig eiliadau, achub y bywyd hwnw—a bod yn berffaith hawdd i'r gwneuthurwr ei atal mewn moment, pan y mynai, a hyny heb wneud y niwed lleiaf i'r peiriant—a meddylier yn mhellach ei fod ar y pryd yn

sefyll gerllaw—a'i fod yn ddyn llawn o dynerwch a charedigrwydd; onid yw yn debygol y byddai iddo yn yr amgylchiad a ddarluniwyd atal y peiriant am ychydig o fynydau, er mwyn peth mor bwysig ag achub bywyd un o'i gyd-ddynion? Yn *debygol?* ydyw y mae yn hollol *sicr* y gwnai hyny. Onid oes y tebygolrwydd cryfaf ynte y gwnai y Duw trugarog a hollalluog, osod ei fys ar rai o'r olwynion yn mheiriant mawr y greadigaeth faterawl, ac atal eu gweithrediadau am ychydig amser, ar rai achlysuron, nid er mwyn arbed un bywyd dynol, na myrddiynau o'r cyfryw fywydau; ond er mwyn peth mor fawr a phwysig â iechawdwriaeth dragywyddol myrddiynau dirif o eneidiau anfarwol? A ydyw yn fwy tebygol y byddai iddo adael i fyd cyfan o'i greaduriaid rhesymol gael ei ddinystrio byth, nag y byddai iddo ymyraeth weithiau â deddfau anian, er atal eu gweithrediad unffurf a chyson, pan y gallai wneuthur hyny mor rhwydd, ac heb beri y niwed na'r dyryswch lleiaf i gyfundrefn natur? Y mae gwyrthiau yn anhebygol cyhyd ag na byddo rheswm digonol dros eu cyflawni, a dim yn hŵy. Ond pan y byddo amcan teilwng o ran ei bwysigrwydd o gyfryngiad uniongyrchol Duw i gael ei gyrhaedd trwyddynt, a'r amcan mawr hwnw yn un nas gallesid ei gyrhaedd mor effeithiol hebddynt, yna y mae y tebygolrwydd yn y fan yn dyfod o'u tu, ac nid yn eu herbyn.*

Drachefn, y mae gwyrthiau yn debygol oddiwrth y ffaith fod Iesu o Nazareth yn berson anghyffredin, ac wedi dyfod i'r byd ar neges anghyffredin. Ond fe allai y gofynir yma, Pa fodd y gwyddom yn sicr fod y fath berson wedi bod erioed yn y byd, ac mai nid ffug-hanes yw yr Efengylau? Gellir ateb yn ddibetrus y *rhaid* fod yr Efengylwyr wedi bod yn nghymdeithas y fath berson cyn y gallasent byth dynu darlun o hono. Buasai yn llawn mor alluadwy iddynt greu byd ag a fuasai iddynt ddyfeisio y person a bortreiadir ganddynt. Nid oeddynt, fel y sylwa Bushnell, ond dynion is-raddol oll, o ran addysg, ac heb fod yr un o honynt

* Gwel "*Wardlaw on the Miracles,*" tudal. 63–70.

wedi ei ddonio âg athrylith anghyffredin, ac eto y maent wedi llwyddo, a hyny heb un arwydd o ymdrech, i dynu darlun o nodwedd nas gallodd yr un bardd erioed greu y meddylrith o hono, na'r un athronydd, trwy ymdrech mwyaf gorddwfn y meddwl, ei ddychymygu a'i ddarlunio i'r byd. Meddyliwch am gymeriad moesol ac athrawiaeth yr Iesu, ac am y dylanwad y mae ei eiriau a'i weithredoedd wedi gynyrchu yn y byd. O ba le y daeth y pethau hyn atolwg, os na bu y cyfryw berson ar y ddaear erioed? Tybier na bu y fath ddyn â Newton yn y byd erioed; ond pwy a wnaeth ei ddarganfyddiadau, ac a gyfansoddodd y gwaith sydd wedi anfarwoli ei enw? Buasai yn rhaid cael Newton i ffugio Newton; a'r un modd buasai raid cael Crist i ddyfeisio Crist.*

Fel y sylwa Dr. Edwards yn ei draethawd rhagorol ar "Athrawiaeth yr Iawn" (tudal. 42, 43.):—

"Y mae yn rhaid fod yr hanes yn wir; oblegid pwy fuasai yn medru ei ddyfeisio? Y mae yn haws dychymygu am ddyn yn creu yr haul, na'i fod yn creu y fath arlun o berffeithrwydd moesol ag a welir yn hanes y dyn Crist Iesu. Os yw yn anhawdd credu fod un mor santaidd wedi bod yn ein byd ni, y mae yn fwy anhawdd credu fod neb wedi gallu ei ddesgrifio heb iddo fod. * * * * * * Os llwyddasant i roddi darlun dwyfol o berson dynol, y mae yn rhaid i ni feddwl fod yma un o'r gwyrthiau rhyfeddaf a fu erioed; a bod yr apostolion yn cael cymorth goruwchnaturiol i gyfansoddi ffug-hanes. Y mae yn rhaid i ni roddi lle i'r dwyfol yn rhywle. Ond y mae yn fwy rhesymol i ni dybied fod y gwrthddrych yn ddwyfol a'r hanes yn ddynol, na thybied fod yr hanes yn ddwyfol a'r gwrthddrych yn ddynol; oblegid nis gellir meddwl fod Ysbryd Duw yn rhoddi cymorth goruwchnaturiol i ysgrifenu celwydd: ond mwy rhesymol na'r ddau yw tybied fod Ysbryd Duw yn rhoddi cymorth goruwchnaturiol i ysgrifenu gwirionedd; ac felly fod gwrthddrych yr hanes yn ddwyfol."

Yn awr, os credwn ymgnawdoliad Mab Duw, yr ydym yn rhwym o gredu hefyd fod gwyrthiau yn debygol. Gan ei

* Gwel draethawd godidog *Bushnell on the "Character of Jesus:" Nature and the Supernatural. Chap. x.*

fod ef ei hunan yn wyrth buasai yn rhyfedd yn wir iddo fyned trwy y byd heb wneud gwyrthiau. Gan y "gelwir ei enw ef Rhyfeddol," onid naturiol dysgwyl i'w weithredoedd hefyd fod yn rhyfeddodau? Os efe, fel yr honai, "yw yr Adgyfodiad a'r Bywyd," rhesymol dysgwyl iddo brofi ei hawl i'r fath deitlau goruchel trwy adgyfodi a bywhau ambell un marw? Buasai yn anghredadwy ei fod wedi dyfod i'r byd yn Waredwr dynolryw pe na buasai iddo wneud dim ond yn unig addaw gwaredigaeth, heb roddi un ernes na gwystl o'i allu i gyflawni ei addewid. "Yr oedd yn weddus," medd Mansel, "iddo ef yr hwn a ddaeth fel Gorchfygwr pechod ac angeu, yr hwn oedd ganddo feddiant i ddodi ei einioes i lawr, ymddangos hefyd fel Arglwydd y corff ac Arglwydd yr yspryd, gan feddu gallu ar elfenau mater ac ar feddyliau calonau dynion; wedi cael ei ragfynegi gan broffwydoliaethau nas gallasai doethineb ddynol roddi bod iddynt, a dwyn tystiolaeth iddo gan weithredoedd nas gallasai gallu dynol eu gwneuthur."

IV. Y mae y Gwyrthiau yn sicr.

Wedi ceisio dangos eu bod yn bosibl, yn angenrheidiol, ac yn debygol, caf yn awr ymdrechu profi fod genym y sicrwydd cryfaf iddynt gael eu cyflawni. Er na welsom ni erioed mo honynt â'n llygaid ein hunain, eto y mae genym y fath dystiolaeth o'u plaid ag sydd yn ddigon cadarn i fod yn sylfaen ddiysgog i'n ffydd yn eu gwirionedd a'u didwylledd; ac y mae yn deilwng o'n sylw nad yw pellder lle ac amser yn gwanychu dim ar dystiolaeth *ysgrifenedig*. Y mae yn wir fod yr anffyddiwr adnabyddus ac enwog David Hume, yn haeru yn ei Draethawd ar Wyrthiau, nas gall unrhyw dystiolaeth ddynol, pa mor gadarn bynag fyddo, brofi fod gwyrthiau wedi cymeryd lle. Dadleua "na ddichon i dystiolaeth ymgodi i debygolrwydd—llawer llai i brawf o blaid unrhyw wyrth." Sylwedd ei ymresymiad dros yr haeriad hwn ydyw, mai profiad yw ein hunig

arweinydd wrth ymresymu yn nghylch ffeithiau — fod gwyrth yn beth croes i ddeddfau natur—fod genym sicrwydd profiad o blaid unffurfiaeth deddfau natur; ond fod profiad yn dysgu i ni fod tystiolaeth ddynol yn aml yn dwyllodrus. Y mae y profiad o unffurfiaeth natur, gan hyny, yn gryfach na'r profiad o wirionedd tystiolaeth, o ganlyniad dylem ymwrthod â thystiolaeth ddynol pan yn tystio fod dim wedi cymeryd lle ar unrhyw adeg, nac i unrhyw ddyben, yn groes i ddeddfau natur. Mae Dr. Paley yn crynhoi sylwedd yr ymresymiad i ychydig eiriau fel hyn :—"Y mae yn groes i brofiad i wyrth fod yn wir; ond nid ydyw yn groes i brofiad i dystiolaeth fod yn dwyllodrus."

Y mae amryw ddynion enwog megys Campbell, Wardlaw, Bayne, ac eraill, wedi ateb gwrthddadl Hume, a dangos geudeb a thwyll ei ymresymiad yn eglur. Fel y sylwa Wardlaw, y mae profiad pob dyn unigol o fewn cylch cyfyng iawn, o ran amser a lle, ac y mae yr holl wybodaeth a fedd am bethau o'r tu allan i'r cylch bychan hwnw yn ymddibynu ar dystiolaeth. Nid oes un ffordd iddo i wybod dim am y pethau a gymerasant le yn y byd cyn ei eni, ac mewn gwledydd a theyrnasoedd na bu efe ynddynt erioed heblaw trwy dystiolaeth. Ond a ydyw dynion i ymwrthod â phob tystiolaeth fyddo yn groes i'w profiad personol hwy eu hunain? Os felly, yr oedd brenin Siam yn gwneud yn hollol yn ei le wrth anghredu tystiolaeth y Dutchman a ddywedai wrtho fod dwfr, mewn rhai gwledydd yn rhewi, ar ryw dymhorau o'r flwyddyn, nes myned yn galed fel craig. Peth croes iawn i brofiad tywysog oedd wedi treulio ei fywyd mewn hinsawdd boeth, lle na welsid na rhew nac eira erioed, oedd clywed fod elfen mor feddal â'r dwfr yn myned mor galed fel y gallai dynion ei dori yn ddarnau a'i gario yn eu llogellau, os mynent, neu fel y gallai creadur mor drwm ag elephant gerdded ar ei wyneb, megys ar balmant o adamant. Yr oedd son am ddwfr yn rhewi felly yn beth llawn mor groes i brofiad y brenin hwnw â phe dywedasid wrtho fod dyn marw wedi dyfod yn fyw drachefn. Gwir

fod gwyrthiau yn groes i brofiad pob oes nas gwelsant hwy yn cael eu cyflawni; ond nid ydyw y ffaith fod peth yn groes i brofiad rhai, yn brawf ei fod yn groes i brofiad pawb, fel y gwelir yn amlwg oddiwrth yr engraifft flaenorol, a llawer eraill y gallesid eu crybwyll. Pethau o'r tu allan i gylch ein profiad ein hunain sydd yn gwneud i fynu y rhan fwyaf o lawer o wrthddrychau ein gwybodaeth. Ond y mae yn debygol mai profiad cyffredinol dynolryw, yn mhob oes a gwlad, a olygid gan Hume. Wel, os felly, y mae yn cymeryd yn ganiataol yr hyn y dylai ei brofi; canys y cwestiwn yw, A ydyw gwyrthiau yn groes i brofiad y bobl oedd yn byw yn ngwlad Judea yn nyddiau y Gwaredwr? Yr ydym ni yn credu nad ydynt, a hyny ar sail tystiolaeth nad oes mo'i chadarnach dros unrhyw ffaith yn hanes y byd. Ac nid oes dim tystiolaeth wrthwynebol ychwaith. Y mae Hume yn haeru fod gwyrthiau yn groes i brofiad cyffredinol dynolryw, ac felly na's gallant fod yn wir. Ond pa fodd, atolwg, y gwyddom pa beth yw profiad cyffredinol? Nid oes un ffordd i wybod hyny ond trwy dystiolaeth. Mae Hume, gan hyny, yn derbyn llais tystiolaeth o blaid unffurfiaeth deddfau natur, ond yn gwrthod tystiolaeth ddynol pan yn tystiolaethu o blaid gwyrthiau. Mae yn derbyn tystiolaeth mewn un achos, ac yn ei gwrthod mewn achos arall. Gan fod gwyrthiau yn groes i brofiad y corff mawr o ddynolryw y mae yn haeru y dylem wrthod gyda dirmyg, fel peth hollol anheilwng o sylw ac ymchwiliad, dystiolaeth y dosbarth hwnw o ddynolryw a sicrhant fod gwyrthiau wedi cymeryd lle o fewn cylch eu profiad hwy. Ond y mae hyn mor ynfyd ac afresymol a phe meddylid am ddadleuydd mewn llys barn, wrth amddiffyn carcharor fyddai yn sefyll ei brawf, ar y cyhuddiad o lofruddiaeth, yn dweyd wrth y rheithwyr y dylent anghredu tystiolaeth y tystion credadwy a gymerasant eu llw eu bod hwy wedi gweled y carcharor yn cyflawni y trosedd, yn y fan a'r fan, yr amser a'r amser, am y gallai ef ddwyn cant o ddynion yn mlaen i'r llys, i dystio na welsant hwy erioed mo hono yn cyflawni

y weithred ysgeler. A oes rhyw reithwyr yn y deyrnas a gymerent eu camarwain gan y fath dwyll ymresymiad i ryddhau carcharor? Nac oes yn ddiau; canys nis gallai gwaith mil o dynion, yn tystio na welsant hwy mo'r carcharor yn cyflawni y weithred, wrthbrofi na siglo tystiolaeth dau dyst credadwy. Ac eto mae Hume yn haeru y dylem ni wrthod tystiolaeth y tystion mwyaf credadwy, pan y maent yn tystiolaethu o blaid gwyrthiau, am fod y nifer liosocaf o ddynolryw heb erioed weled gwyrthiau. Dywed wrthym fod tystiolaeth ddynol yn aml yn troi allan yn dwyllodrus. Gwyddom hyny yn dda, ysywaeth; ond y cwestiwn yw, pa fath dystiolaeth sydd yn troi allan felly? Gellir ateb y cwestiwn yn ngeiriau Wardlaw, a dweyd mai "tystiolaeth dynion digymeriad a diegwyddor: tystiolaeth dynion mewn amgylchiadau dibwys, pan nad oes dim yn eu symbylu i edrych i mewn yn fanwl i'r achos, nac i bwyso y dystiolaeth a roddant." Ond nid tystiolaeth fel hyn sydd genym o blaid y gwyrthiau; ond tystiolaeth y byddai yn llawer mwy o syndod iddi fod yn gelwyddog nag a fyddai i'r gwyrthiau fod yn wir. "Pan y dywed rhywun wrthyf," medd Hume, "ei fod wedi gweled dyn marw wedi ei adferu i fywyd, yr wyf yn gofyn yn union i mi fy hun pa un ydyw y mwyaf tebygol fod y dyn hwn wedi ei dwyllo, neu yn twyllo, neu ynte fod yr hyn y mae yn ei dystiolaethu yn wir. Yr ydwyf yn pwyso y naill wyrth yn erbyn y llall, ac yn ol fel y mae y naill yn fwy tebygol na'r llall, yr wyf yn penderfynu—a phob amser yn ymwrthod â'r wyrth fwyaf. Nid oes ganddo hawl i ddysgwyl nac i ofyn am fy nghrediniaeth i yn ei dystiolaeth, nes iddo ddangos yn gyntaf y byddai yn fwy gwyrth i'w dystiolaeth ef beidio bod yn wir nag a fyddai i'r hyn a dystiolaetha gymeryd lle." "Yn hollol felly," medd Peter Bayne, "nis gall fod dim yn fwy rhesymol. Gadewch i ni fyned yn awr ynte at y gydmariaeth. Y mae yn gorphwys ar y Cristion ddwyn tystiolaeth yn mlaen o blaid gwyrthiau y byddai yn fwy o syndod iddi fod yn gelwyddog nag a fyddai i'r wyrth y mae yn dwyn tystiolaeth iddi gymeryd

lle, a gwaith Hume ydyw pwyso y naill wyrth yn erbyn y llall. Beth oedd y peth nesaf a ddylasai Hume ei wneuthur yn ol ei reol ei hun? Y mae yn amlwg mai casglu yn nghyd y gwyrthiau yr hona Cristionogaeth iddynt gymeryd lle; yna gosod y dystiolaeth o'u plaid yn deg ger bron; ac yn nesaf dangos pa mor debyg bynag yw y dystiolaeth i fod yn wir, y byddai yn llawer llai o ryfeddod iddi hi fod yn gelwyddog nag i'r gwyrthiau eu hunain fod yn wir. Hyn, meddaf, a ddylasai Hume ei wneuthur, yn ol y rheol a osodasid i lawr ganddo ef ei hunan i brofi gwyrthiau wrthi. Ond gŵyr pawb sydd wedi darllen Traethawd Hume nad ydyw wedi gwneud dim o'r fath. Wedi iddo ddangos pa fath dystiolaeth sydd yn angenrheidiol i brofi gwirionedd gwyrthiau y Testament Newydd, y mae yn troi y gwyrthiau hyny yn bwyllog allan o'r llys. Nid yw yn gofyn pa dystiolaeth a gynygir i geisio profi fod y gwyrthiau Cristionogol wedi cymeryd lle; ond yr hyn y mae yn ei wneuthur yw gwysio ger bron ryw 'wyrthiau' nad oes dim a fyno Cristionogaeth â hwynt, dangos natur y prawf drostynt, a'u condemnio fel twyll; ac yna y mae yn hysbysu i'r llys yn dawel a digyffro fod y gwyrthiau Cristionogol wedi eu gwrth-brofi. Y mae yn gosod i lawr reol i farnu gwyrthiau Crist wrthi, yna, y mae yn cymhwyso y rheol hono at ryw wyrthiau paganaidd a phabyddol, a chan fod y dystiolaeth o blaid y rhai hyny yn annigonol yn ngwyneb y rheol, y mae yn dibenu trwy haeru nad ydyw gwyrthiau Crist ddim yn wir. Y mae yn dra amheus a ellid cael o fewn holl gylch llenyddiaeth y byd y fath engraifft â hon o annhegwch a thwyll ymresymiad. Nid wyf yn gwybod am un ymadrodd na chydmariaeth digon grymus i osod allan ei hannhegwch yn llawn. Y mae rywbeth yn debyg fel pe meddyliem am ddyn o'r cymeriad uchaf yn cael ei osod i sefyll ei brawf am ei fywyd, ac ar ol ei hysbysu am y ddeddf yn ol pa un y mae i gael ei brofi, yn cael ei orchymyn i sefyll o'r naill du, nes i un arall sydd yn honi perthynas o bell â'r cyhuddedig, ac un nad oes ganddo gymeriad i'w ddadleu,

gael ei brofi yn ei le; ac yna gelwir y cyhuddedig yn ol i'r llys i hysbysu iddo ei fod wedi ei gondemnio i farw. Nid yw hyn ond cysgod gwanaidd o'r annhegwch a'r cam a wneir gan Hume, â gwyrthiau y Beibl. Y mae mewn effaith yn dweyd fel hyn:—'Honir fod Iesu Crist wedi rhoddi ei olwg i'r dall. Ond gall efe sefyll o'r naill du. Dyna wyrth wedi ei chyflawni gan y duw Serapis—yr hwn nid yw ond tarw gyda rhyw neillduolrwydd o gwmpas ei gynffon,—trwy offerynoliaeth yr ymerawdwr Vespasian, ni a gymerwn hon yn ei lle. Ni a ddangoswn nad yw y wyrth hon ond twyll; ac felly ni a brofwn na agorodd Crist erioed lygaid y dall.' Y cyfryw ydyw dull Hume o drafod a cheisio gwrth-brofi gwyrthiau yr efengyl."*

Y mae anffyddiwr arall o Ffrainc, o'r enw Renan, wedi tynu cryn sylw ryw ddwy neu dair blynedd yn ol, trwy lyfr a gyhoeddwyd ganddo ar *Fywyd Crist*. Ond ymddengys fod ei lyfr eisoes yn prysuro yn gyflym i ebargofiant, tra y mae yr hen Feibl yn dal ei dir yn ddiysgog er pob ymosodiad a wneir arno. Fel y dywed Bushnell, "ni all unrhyw wrthddadl yn erbyn yr haul ei yru o'r ffurfafen. Nis gall unrhyw amheuaeth wâdd-lygeidiawg *(mole-eyed scepticism)*, wedi ei dallu gan ei ddysgleirdeb, droi heibio y dysglaerder, ar yr hwn y mae yn gwrthod edrych." Y mae llawer o debygolrwydd, er fod peth gwahaniaeth, rhwng gwrthddadl Renan â gwrthddadl Hume yn erbyn gwyrthiau. Dyma ei eiriau ef ei hun:—"Nid ydym yn dywedyd fod gwyrthiau yn anmhosibl. Ond yr ydym yn dywedyd na phrofwyd erioed eto i wyrth gael ei chyflawni." Haera mai dynion hygoelus, diddysg, a hawdd eu twyllo oedd y tystion, ac felly nad oeddynt yn gymhwys i farnu gwirionedd y gwyrthiau, ac o ganlyniad na ddylem roddi coel i'w tystiolaeth. Ond y mae yr haeriad hwn yn hollol ddisail ac anwireddus, canys y mae y dystiolaeth sydd genym o blaid gwyrthiau Crist yn deilwng o bob derbyniad fel y caf yn awr geisio

* Gwel "*Bayne's Testimony of Christ to Christianity*," tudal. 6—11; a'r "Gwyddoniadur" hefyd dan y gair "Gwyrthiau."

dangos. Y mae y dystiolaeth yn dyfod i fynu â'r safon a osodir i lawr gan Hume i farnu gwyrthiau wrthi; canys y mae yn un mor gadarn fel y byddai yn annhraethol fwy o syndod iddi fod yn gelwyddog nag ydyw i'r gwyrthiau eu hunain fod yn wir. Y mae y dystiolaeth yn driplyg:—

(1.) *Tystiolaeth yr Apostolion ac eraill.* Gwelir fod eu tystiolaeth hwy yn deilwng o bob derbyniad wrth ystyried y pethau canlynol:—

Yn gyntaf, Yr oedd y gwyrthiau yn ffeithiau amlwg nas gallasent gael eu twyllo yn eu cylch. Gan eu bod yn bethau i'w gweled â'r llygaid, a'u teimlo â'r dwylaw, &c., yr oedd dynion cyffredin mor gymhwys â neb i farnu yn nghylch eu gwirionedd. Y mae hyn yn cael ei wadu gan Renan. Haera nad oes genym brawf fod Crist wedi codi neb o farw am nad oes genym dystiolaeth nifer o feddygon a fferyllwyr, &c., i brofi fod y rhai a adgyfodwyd ganddo wedi marw mewn gwirionedd. Ond a oes neb, atolwg, ond dynion dysgedig o'r fath yn gymhwys i farnu pa un a fyddo dyn wedi marw mewn gwirionedd ai peidio? Pan y mae ein cyfeillion yn marw a ydym yn teimlo ei fod yn angenrheidiol galw yn nghyd nifer o wyddonwyr i wneud archwiliad meddygol, ac i gynnal trengholiad ar eu cyrff, er mwyn cael sicrwydd eu bod wedi marw, rhag ofn i ni eu claddu yn fyw? Ai nid ydym yn teimlo ein bod yn alluog i farnu ein hunain pa un a fyddant wedi marw ai peidio? A ydyw yn debyg y buasai mam, a chyfeillion y gŵr ieuanc o Nain, yn ei gychwyn tua'r bedd, pe buasai rhyw le i amheu gwirionedd ei farwolaeth? Ond wele Grist yn cyfarfod y claddedigaeth, megys yn hollol ddamweiniol, ac yn cyfodi y marw yn ngwydd yr holl dyrfa. Yr un modd am Lazarus o Bethania hefyd. Nid yw yn debygol y buasai Mair a Martha yn claddu eu brawd heb fod ganddynt bob sicrwydd ei fod wedi marw. Ond os haerir er y cwbl fod perthynasau y personau hyn wedi gwneuthur camgymeriad, ac nad oeddynt wedi marw yn wirioneddol, y mae yn rhaid credu fod Crist ei hun yn euog o dwyll; canys yr oedd efe

yn honi yn eglur a phendant ei fod yn cyfodi y meirw. (Math. xi. 5.) Drachefn, onid oes genym brofion a ddylent foddloni hyd yn nod Renan ei hunan o wirionedd marwolaeth y Gwaredwr? Ond y mae ei ddysgyblion yn tystio iddynt ei weled yn fyw drachefn, ac iddo "ymddangos iddynt wedi iddo ddyoddef trwy lawer o arwyddion sicr, gan fod yn weledig iddynt dros ddeugain niwrnod, a dywedyd y pethau a berthynent i deyrnas Dduw." Mae dynion cyffredin o ran dysg a galluoedd mor gymhwys â neb i ffurfio barn yn nghylch gwirionedd ffaith fel hon. Yr un modd am wyrthiau eraill Crist. Yr oedd efe yn agoryd llygaid y deillion â'i air yn unig, ac yn glanhau gwahangleifion â chyffyrddiad ei law. A oedd eisieu athronwyr dysgedig i benderfynu pa un a oedd rhyw dwyll mewn gweithredoedd fel hyn; a pha un a oeddynt yn wyrthiau gwirioneddol ai peidio? Yr oedd Crist hefyd yn cyflawni ei wyrthiau mewn modd oedd yn dangos eu didwylledd, ac yn rhoddi pob mantais i'r tystion i brofi eu gwirionedd. Nid ar ryw bersonau neillduol o'i ddewisiad ei hun, ac mewn amgylchiadau wedi eu rhag-drefnu ganddo, yr oedd efe yn gwneud ei wyrthiau; ond ar bwy bynag a ddeuai yn ei ffordd, a hyny heb unrhyw rag-baratoad. Y mae twyllwyr, yn wastad yn arfer trefnu yr amgylchiadau yn y rhai y byddant yn dangos eu gorchestion; ond yr oedd Crist o'r tu arall, yn cymeryd yr amgylchiadau bob amser fel y dygwyddent; ac yn amlygu ei allu gwyrthiol dan bob math o wahanol amgylchiadau. Nid rhyw un dosbarth neillduol ychwaith o wyrthiau a gyflawnid ganddo; ond arwyddion a rhyfeddodau o bob math. Gwnaed y rhan fwyaf o honynt hefyd yn gyhoeddus, liw dydd goleu, ac nid mewn conglau gwledig ac anmhoblogaidd; ond mewn dinasoedd a threfydd, ar yr heolydd, yn y synagogau a'r deml, ac yn mhresenoldeb gelynion yn gystal â chyfeillion. Yr oeddynt yn lliosog o ran eu rhif; yn amrywiol o ran eu natur; yn cael eu cyflawni yn feunyddiol; a hyny dros amryw flynyddau; ac yr oeddynt yn weithredoedd o'r fath ag oedd yn

sicr o dynu sylw; a bod yn destun llawer o siarad; a pheri i ymchwiliad manwl gael ei wneud yn eu cylch. Rhaid addef, gan hyny, i'r tystion gael pob mantais i wybod y gwirionedd o berthynas iddynt; ac y mae digon o brofion nad dynion hygoelus a hawdd eu twyllo oeddynt. Y mae yn hollol anghredadwy i gynifer o ddynion gael eu twyllo, gynifer o weithiau, a hyny dan y fath amgylchiadau.

Yn ail, y mae genym y sicrwydd cryfaf eu bod hwy eu hunain yn credu yn ddiysgog i'r gwyrthiau gael eu cyflawni yn wirioneddol. Y maent yn adrodd yr hanes mewn dull syml a dirodres, fel dynion geirwir a didwyll, heb ofalu am fod yn berffaith gyson â'u gilydd i'r llythyreu yn mhob peth, fel y buasai twyllwyr yn sicr o wneud. Cyhoeddasant yr hanes hefyd yn y wlad, yn mysg y bobl, ac yn fuan ar ol yr amser, y dywedir i'r gwyrthiau gymeryd lle. A ydyw yn debygol y buasai twyllwyr yn anturio gwneud hyn? A pha beth, atolwg, a allasai eu cymhell i lunio y fath dystiolaeth, pe na buasai yn wirionedd? A oedd gobaith iddi ddwyn rhyw leshad, neu elw tymhorol iddynt? Na, yr oedd yn hawdd iddynt ragweled, cyn ei chyhoeddi, y byddai yn sicr o'u gwneuthur yn wrthddrychau digofaint ac erledigaeth y llywodraethwyr. Ond y maent yn parhau i ddwyn eu tystiolaeth o blaid y gwyrthiau, er iddynt oherwydd hyny orfod aberthu eu meddianau, eu cyfeillion, eu rhyddid, a'u bywyd. Dyoddefasant eu fflangellu, eu carcharu, eu llabyddio, a'u merthyru yn hytrach na gwadu y gwyrthiau. Yn awr, a oes rhyw ddyn yn ei bwyll a wynebai y fath arteithiau yn wirfoddol heb ei fod, naill ai yn credu yn gadarn fod hyny yn ddyledswydd arno, neu ynte ei fod yn dysgwyl rhyw wobr fawr mewn byd dyfodol? Ond os nad oedd y gwyrthiau yn wir, y mae yn rhaid fod yr apostolion yn dyoddef erledigaeth a merthyrdod yn wirfoddol dros yr hyn y *gwyddent* ei fod yn gelwydd; canys yr oedd yn annichonadwy, fel y dangoswyd eisoes, iddynt fod wedi cael eu twyllo. Pa beth, atolwg, a allasai eu cymhell i ddyoddef dros yr hyn y gwyddent ei fod yn dwyll a

chelwydd? A oeddynt mor ffol a dysgwyl i Dduw y gwirionedd eu gwobrwyo am hyny mewn byd dyfodol? Y mae yn eithaf posibl i ddyn farw yn ferthyr dros athrawiaeth gyfeiliornus; ond peth tra gwahanol i hyny ydyw marw yn ferthyr dros dystiolaeth gelwyddog yn nghylch mater o ffaith. Dadleua Hume, fel y sylwyd, fod tystiolaeth ddynol yn fynych yn dwyllodrus. Nid oes neb yn gwadu hyny; ond y cwestiwn yw, a ydyw yn bosibl i'r fath dystiolaeth â hon fod yn dwyllodrus? Y mae deddfau yn perthyn i fyd y meddwl yn gystal â'r byd materawl, ac y mae deddfau y meddwl mor gadarn a sefydlog â deddfau natur; a byddai i dystiolaeth Crist a'i apostolion fod yn anwireddus yn fwy o ŵyrad oddiwrth ddeddfau y byd moesol, nag yw y gwyrthiau eu hunain oddiwrth ddeddfau y byd naturiol. Felly yr ydym yn rhwym o gredu mewn gwyrthiau pa ochr bynag i'r ddadl a gymerwn. Os gwrthodwn wyrthiau y Testament Newydd y mae yn rhaid i ni gredu gwyrthiau eraill llawer mwy anhebygol o fod yn wir, sef credu fod Crist ei hun yn dwyllwr, a'i fod wedi llwyddo i dwyllo y dynion fuont yn ei ddilyn bob dydd am flynyddau, a hyny yn ngylch gweithredoedd oeddynt yn cael eu cyflawni yn barhaus o flaen eu llygaid, "yn ngwyneb haul, a llygad goleuni;" neu ynte rhaid i ni gredu fod yr apostolion eu hunain yn twyllo y byd yn wirfoddol, heb unrhyw hunan-les i'w gyrhaedd trwy hyny; iddynt farw yn ferthyron dros eu twyll; a llwyddo i enill y byd i gredu a chofleidio eu twyll. "Os enillwyd y byd i gofleidio Cristionogaeth heb wyrthiau," medd Dante, "yr oedd hyny ganwaith yn fwy gwyrth nag un o'r gwyrthiau yr honir iddynt gymeryd lle." Gan fod yr hwn sydd yn gwrthod gwyrthiau y Beibl yn rhwym o gredu y wyrth aruthrol hon, yn briodol y gellir ei gyfarch yn ngeiriau un o ysgrifenwyr galluocaf yr oes bresenol a dywedyd wrtho, "O anffyddiwr, mawr yw dy ffydd."

(2.) *Tystiolaeth gelynion Crist.* Y mae yn ffaith anwadadwy fod Iuddewon a phaganiaid, yn nyddiau Crist a'r apostolion, yn teimlo eu hunain dan yr angenrheidrwydd

o addef fod gwyrthiau wedi cael eu cyflawni. Gwir eu bod yn gwrthod eu derbyn fel profion o Fessiaeth a Duwdod yr Iesu; ceisient eu priodoli i weithrediadau y diafol, ac i wahanol achosion; ond ni chynygiasant erioed wadu y ffeithiau. Y mae yn sicr y buasai yn annhraethol dda gan yr arch-offeiriaid a'r Phariseaid, allu cyfiawnhau eu gwaith yn gwrthod, ac yn erlid Crist, trwy brofi nad oedd ei wyrthiau honedig ond triciau twyllodrus; ond yn lle hyny, eu tystiolaeth hwy eu hunain, pan wedi ymgasglu yn nghyd mewn cynghor, i gynllunio pa fodd y difethent ef, oedd, "Y mae y dyn yma yn gwneuthur llawer o arwyddion." (Ioan xi. 47.) Dywedir yn llyfr yr Actau i Pedr sefyll i fynu yn nghanol Jerusalem, ar ŵyl y Pentecost, a chyfarch y dyrfa fawr oedd yn bresenol ar y pryd, gan ddywedyd, "Ha wyr Israel, clywch y geiriau hyn; Iesu o Nazareth, gŵr profedig gan Dduw yn eich plith chwi, trwy nerthoedd, a rhyfeddodau, ac arwyddion, y rhai a wnaeth Duw trwyddo ef yn eich canol chwi, *megys ag y gwyddoch chwithau*: hwn, wedi ei roddi trwy derfynedig gynghor a rhagwybodaeth Duw, a gymerasoch chwi, â thrwy ddwylaw anwir a groeshoeliasoch, ac a laddasoch." (Act. ii. 22, 23.) Yn awr, pan gyhoeddwyd yr adroddiad hwn, nid oes hanes i neb, o'r holl filoedd oeddynt yn Jerusalem ar yr ŵyl, geisio gwadu na thraddododd Pedr y cyfryw anerchiad, na cheisio profi ychwaith mai celwydd oedd ei dystiolaeth, ac na chyflawnodd Iesu o Nazareth erioed y fath weithredoedd ag a briodolai yr apostol iddo. Llidiodd y llywodraethwyr Iuddewig yn aruthr, yn ngwyneb y cyhuddiad ofnadwy a ddygai yr apostiolion yn eu herbyn o ladd y Messiah; ond ni cheisiasant erioed gyfiawnhau eu hunain trwy wadu y gwyrthiau. Yr oeddynt yn addef hefyd i Pedr ac Ioan wneud gwyrth ar y dyn cloff wrth borth y deml:—"Ac wrth weled y dyn a iachasid yn sefyll gyda hwynt, nid oedd ganddynt ddim i'w ddywedyd yn erbyn hyny. Eithr wedi gorchymyn iddynt fyned allan o'r gynghorfa, hwy a ymgynghorasant â'u gilydd, gan ddywedyd, Beth a wnawn ni

i'r dynion hyn? canys yn ddiau arwydd hynod a wnaed trwyddynt hwy, hysbys i bawb a'r sydd yn preswylio yn Jerusalem, ac nis gallwn ni ei wadu." (Act. iv. 14—17.)

Y mae yr awduron paganaidd hefyd a ysgrifenasant yn erbyn Cristionogaeth, yn y canrifoedd cyntaf, megys Celsus, Porphyry, a Julian, yn addef i'r gwyrthiau gymeryd lle, er eu bod yn ceisio haeru mai trwy swyngyfaredd *(magic)* yr oeddynt yn cael eu cyflawni. Byddai yn burion i anffyddwyr ein hoes ni ymbwyllo, ac ystyried a ydynt hwy yn debycach na Celsus o wybod pa un a gymerodd y gwyrthiau le ai peidio? A ydynt hwy yn gymhwys i wadu yr hyn yr oedd gelyn mor llidiog â neb, a llawn mor alluog a'r rhan fwyaf o honynt hwythau, a hwnw yn byw yn yr ail ganrif, yn gorfod ei addef? A ydynt hwy mewn gwell mantais i wybod y gwirionedd yn nghylch y mater yn awr, yn mhen deunaw cant o flynyddau, nag un oedd yn byw mor agos, o ran lle ac amser, i'r gwyrthiau? A ydyw yn haws gweled gwrthddrychau yn gywir pa bellaf y byddis oddiwrthynt?

(3.) *Tystiolaeth Crist ei hun.* Nid oes dim yn fwy amlwg i bawb a ddarlleno yr Efengylau, na bod Crist yn honi, yn y modd mwyaf diamwys, eglur, a phendant ei fod yn meddu ar allu gwyrthiol. Yr oedd y gallu hwn yn cynwys rhodio ar y môr, gostegu y dymestl, porthi miloedd âg ychydig dorthau a physgod, a chyfodi y marw. Yn awr, yr ymofyniad yw, Ai ni byddai yn ngwyneb cymeriad moesol Crist yn fwy gwyrth iddo ef *ddywedyd celwydd*, nag a fyddai iddo gyflawni y gweithredoedd hyn a'r cyffelyb? Y mae yn ffaith dra hynod fod tystiolaeth dynion meddylgar a difrifol, er ys agos i ddwy fil o flynyddoedd yn unllais o blaid ei gymeriad moesol. "Pwy o honoch," ebe Crist wrth ei elynion yn Judea, "a'm hargyhoedda i o bechod?" Hwy a aethant yn fud. Y mae y cwestiwn wedi ei ofyn er ys mwy na deunaw canrif, ac heb ei ateb eto. Y mae anffyddiwr ar ol anffyddiwr wedi yspio i'w gymeriad gyda'r awyddfryd cryfaf i allu rhoddi eu bys ar ryw ysmotyn du;

ac y mae y naill ar ol y llall wedi encilio dan gyfaddef, pa beth bynag ydyw Cristionogaeth, fod Iesu o Nazareth yn onest ac yn bur. "Os oedd bywyd a marwolaeth Socrates," ebe yr anffyddiwr Rosseau, "yn deilwng o ddoethawr, yr oedd bywyd a marwolaeth Crist yn deilwng o Dduw." Ystyrir Goethe gan lawer fel y dyn mwyaf ei athrylith a ymddangosodd yn Ewrop er ys amryw ganrifoedd. Y mae efe yn galw Crist yn "ddyn dwyfol," a'r "Un sanctaidd," ac y mae yn ei ddesgrifio fel portrëad, esiampl, a chynllun y ddynoliaeth. Nid oes neb o'r meddylwyr uchaf, a fu yn y byd ar ol Goethe, wedi gwahaniaethu oddiwrtho yn ei farn am gymeriad moesol Crist. Thomas Carlyle, ond odid, yw y dyn mwyaf ei athrylith a gynnyrchodd y ganrif hon; ac y mae efe yn wastad yn llefaru am Grist gyda 'r parch mwyaf. Y mae bywyd y Gwaredwr yn ei olwg ef yn "*perfect ideal poem*" "Y mwyaf o holl wroniaid y byd ydyw," medd efe. Gwrthodid y dybiaeth fod Crist yn dweyd celwydd bwriadol, gan Carlyle, fel ynfydrwydd gwrthun, ac annichonadwy. Y mae hyd yn nod Renan hefyd, yn addef "fod pob peth da a dyrchafedig, a berthyn i'r natur ddynol, wedi cydgyfarfod yn Iesu Grist; a'i fod yn golofn o burdeb sydd yn codi o'r ddaear i'r nefoedd." Dyma dystiolaeth dynion nad ydynt yn proffesu ymostwng i Gristionogaeth, am gymeriad moesol Crist. Wedi y cwbl yn yr Efengylau, y ceir y profion pwysicaf o burdeb ac ardderchowgrwydd ei gymeriad. Ond nid oes un arwydd yn yr hanes fod yr ysgrifenwyr yn gwneud ymdrech i osod allan ei gymeriad yn y lliw mwyaf ffafriol. Y maent, mewn dull syml a diaddurn, yn adrodd ei eiriau fel yr oeddynt yn eu cofio, ac yn cofnodi ei weithredoedd fel yr oeddynt wedi eu gweled, a'r canlyniad yw fod genym yn y Testament Newydd ddarluniad o nodwedd sydd mor bur â'r goleuni. Wrth ddarllen hanes Crist yr ydym yn gweled ei fod yn wastad yn condemnio twyll a chelwydd yn y modd mwyaf llym a diarbed. Un o'r enwau a roddid ganddo ar y diafol oedd, "y celwyddog;" ac edrychai ar gelwydd fel hanfod pechod. Yn

awr, a ydyw yn beth credadwy y buasai y cyfryw berson â hwn yn darostwng ei hun i'r cyhuddiad o fod yn gelwyddog? Y mae yn anwadadwy ei fod yn honi fod gwyrthiau yn cael eu gwneud ganddo; ond ai dweyd celwydd yr ydoedd? Dyna y cwestiwn; ac nid oes modd ei ysgoi. Y mae yn sicr ei fod ef yn dweyd yn barhaus ei fod yn gwneud gwyrthiau, ac os na chredir iddo wneud hyny, y mae yn rhaid credu (gyda pharch y dymunwn ddweyd y gair) ei fod ef yn gelwyddog. Ond a ydyw yn bosibl i ddychymyg dyn goleddu y syniad fod y fath berson â hwn yn euog o'r pechod ysgeler o ddweyd celwydd bwriadol, a hyny yn barhaus, er mwyn twyllo y byd? Na, y mae yn annichonadwy credu hyn. Y mae cydwybod a deall dynolryw yn cilio yn ol yn frawychus oddiwrth y fath dybiaeth. Ni byddai i Dduw wasgu holl ser y nefoedd yn llwch, yn ei law ar unwaith, yn gymaint gwyrth ag i Grist fod yn gelwyddog. Dyma dystiolaeth, gan hyny, y byddai yn annhraethol fwy o ryfeddod iddi fod yn dwyll a chelwydd nag ydyw i holl wyrthiau y Beibl fod yn wir.*

Yn awr, y mae yn ymddangos i mi fod y dystiolaeth driphlyg hon, o blaid y gwyrthiau, mor gadarn â chreigiau y ddaear; a bod genym lai o achos i amheu ei gwirionedd, nag a fyddai gan ddyn, ar ben y Wyddfa, o achos i amheu pa un a fyddai y mynydd, dan ei draed, yn ddigon cadarn i'w gynal. Saif y Cristion yn hyf ar graig ansigladwy y dystiolaeth hon, gan edrych yn dawel ar donau chwyddedig anffyddiaeth yn dynesu ati yn fygythiol, ac yn chwyrn-daro yn erbyn ei godre; ond yn lle ei dymchwelyd, na'i siglo, y maent yn dryllio eu hunain yn fil o ddarnau; ac yn prysuro i ymgladdu o'r golwg, megys rhag cywilydd, gan adael craig y datguddiad dwyfol mor gadarn a diysgog ag erioed. "Y mae cadarn sail Duw yn sefyll;" a "GAIR EIN DUW NI A SAIF BYTH."

* Gwel "*Dayne's Testimony of Christ,*" tudal. 66—76.

# PENNOD III.

## DYBENION Y GWYRTHIAU.

Gwnaed ychydig o gyfeiriadau eisoes, mewn gwahanol gysylltiadau yn y pennodau blaenorol, at rai o ddybenion y gweithredoedd mawrion a rhyfedd hyn; ond y mae pwysigrwydd y mater yn gofyn am alw sylw manylach ato yma, ar ei ben ei hun. Ymddengys fod gwyrthiau yr Arglwydd Iesu wedi eu bwriadu i ateb y dybenion canlynol:—

1. *Tynu sylw ato.* Mae cymhwysder mewn gwyrthiau i dynu sylw, nid am eu bod yn rhyfeddach ynddynt eu hunain, neu yn amlygu mwy o allu dwyfol na gweithrediadau cyffredin natur a rhagluniaeth, ond am eu bod yn bethau anarferol. Mae llawer mwy o edrych ar yr haul pan fyddo diffyg arno, na phan yn machludo yn ei lawn ogoniant ar hwyr-ddydd hâf, a'r rheswm am hyny, fel y mae yn amlwg, yw am fod diffyg yn beth tra dieithr. Yr un peth sydd yn peri fod mwy o syllu ar y comed danllyd, fydd ar brydiau yn gwib-deithio trwy ffurfafen y ddaear, "fel seren wallgof wedi dianc o'i nawddle," ys dywed Hiraethog, nag ar y lloer sydd "fel brenines ar ei sedd, yn taflu ei mantell arian dros y gwyll." A'r un modd am y gwyrthiau; yr oedd yn naturiol iddynt dynu sylw am eu bod yn weithredoedd anghyffredin. Ymddengys mai dyogelu Daniel yn ffau y llewod oedd yr olaf o wyrthiau yr Hen Destament. Nid oedd y byd, gan hyny, wedi gweled y fath beth â gwyrth er ys amryw ganoedd o flynyddau, cyn amser ymddangosiad Crist yn y cnawd. Ond y mae efe yn cael ei eni yn nghanol y gwyrthiau, i arwyddo yn amlwg ei fod yn rhywun mawr ac anghyffredin; ac wedi iddo ddechreu ar ei weinidogaeth gyhoeddus, y mae yn gwneuthur y fath ryfeddodau ag a barent i bawb synu a dywedyd, "Ni welsom ni erioed

fel hyn." "Dyna oedd y gwyrthiau," ebe John Foster, "y clychau yn nheml fawr anian, i alw y byd i'r oedfa, i wrando ar Dduw, yn y dyddiau diweddaf hyn, yn llefaru wrthym ni yn ei Fab."

2. *Symud trueni a chyfranu lles.* Nid gweithredoedd o allu yn unig oeddynt, ac heb fod yn dda i ddim ond i gyffroi syndod; ond yr oeddynt oll yn dangos trugaredd ddwyfol yn gystal â gallu dwyfol. "Defnyddiodd Crist ei allu anfeidrol," fel y dywed M'Cosh, "nid i droi afonydd yn ol i'w tarddiad; peri i'r ser grwydro o'u cylchrodau yn y ffurfafen; neu wasgaru difrod a dinystr;" ond i wneuthur daioni. Yr oedd ei wyrthiau yn gwahaniaethu yn amlwg yn hyn, fel mewn pethau eraill, oddiwrth y campau a'r gorchestion ynfyd a diles a gyflawnir gan dwyllwyr a swynyddion. Honai dysgyblion Simon Magus, fod gan eu hathraw gŵn o bres yn medru cyfarth, a delwau o faen yn medru cerdded a siarad, ac y gallai y swynwr ei hunan ehedeg drwy yr awyr, a thrawsffurfio ei hun nes ymddangos weithiau ar lun sarph, a phryd arall ar lun gafr, &c. Adrodda Clement, yn ei Homiliau, i Pedr ofyn yn dra phriodol i ddysgyblion Simon, pan ymffrostient yn y pethau hyn, pa les a ddeilliai oddiwrth y rhyfeddodau hyn, os oedd y swynwr yn gallu eu cyflawni? "Nid oeddynt," fel y sylwa Trench, "yn dwyn perthynas â dim; nid oeddynt, yr hyn yw pob gwir wyrth, i raddau mwy neu lai, yn weithredoedd *gwaredol;* nid yn unig yn weithredoedd gallu, ond hefyd yn amlygiadau o ras."* Yr oedd gwyrthiau yr Arglwydd Iesu yn ateb i'r desgrifiad hwn; canys yr oeddynt yn rhoddi ymborth i'r newynog, golwg i'r dall, iechyd i'r claf, rheswm i'r gwallgof, a bywyd i'r marw. "Efe a gerddodd oddiamgylch gan wneuthur daioni." (Act. x. 38.)

3. *Profi dwyfol anfoniad yr Iesu, ac amlygu gogoniant ei berson.* "Hyn o ddechreu gwyrthiau a wnaeth yr Iesu, ac a eglurodd ei ogoniant; a'i ddysgyblion a gredasant ynddo." (Ioan ii. 11.) Ei wyrthiau oedd ei gred-lythyrau

* Gwel "*Trench on the Miracles,*" tudal. 81; a'r "Traethodydd" am Hyd. 1863.

*(credentials,)* y rhai oedd lynt wedi eu harwyddo a'u selio yn briodol, ac a dystiolaethent ei fod yn genad o lys y nef, ac yn berson o urddas anfeidrol. At y rhai hyn yr apeliai efe yn gyffredin i brofi dwyfoldeb ei berson, a'i athrawiaeth. Pan anfonodd Ioan Fedyddiwr ryw ddau o'i ddysgyblion ato, i ofyn iddo ai efe oedd y Messiah hir-ddysgwyliedig, efe a gyflawnodd amryw wyrthiau "yr awr hono," medd Luc; ac a ddywedodd wrthynt, "Ewch a mynegwch i Ioan y pethau a welsoch ac a glywsoch; fod y deillion yn gweled eilwaith, y cloffion yn rhodio, y gwahan-glwyfus wedi eu glanhau, y byddariaid yn clywed, y meirw yn cyfodi, y tlodion yn derbyn yr efengyl." (Luc vii. 21, 22.) Ystyriai y dylasai y gweithredoedd nerthol hyn yr oedd efe yn eu gwneuthur, roddi pob boddlonrwydd i feddwl Ioan o berthynas i'w Fessiaeth. Yr un modd y llefarai am ei wyrthiau ar achlysuron eraill:—"Ond y mae genyf fi dystiolaeth fwy nag Ioan: canys y gweithredoedd a roddes y Tad i mi i'w gorphen, y gweithredoedd hyny y rhai yr ydwyf fi yn eu gwneuthur, sydd yn tystiolaethu am danaf fi, mai y Tad a'm hanfonodd i." (Ioan v. 36.) "Onid wyf fi yn gwneuthur gweithredoedd fy Nhad, na chredwch i mi. Ond os ydwyf yn eu gwneuthur, er nad ydych yn credu i mi, credwch y gweithredoedd: fel y gwybyddoch ac y credoch, fod y Tad ynof fi, a minnau ynddo yntau." (Ioan x. 37, 38.) "Credwch fi, fy mod i yn y Tad, a'r Tad ynof finnau: ac onide credwch fi er mwyn y gweithredoedd eu hunain." (Ioan xiv. 11.) Yr oedd gwyrthiau y proffwydi a'r apostolion yn profi eu dwyfol anfoniad, ond yr oedd gwyrthiau yr Arglwydd Iesu, fel yr arwydda yr adnodau blaenorol, yn profi ei fod ef, nid yn unig wedi ei anfon gan Dduw, ond hefyd yn Fab Duw. Yr oedd mawredd ei weithredoedd, a'r *dull* yr oedd efe yn eu cyflawni, sef yn ei enw ei hun, a chyda y rhwyddineb a'r hawsder mwyaf, yn dangos yn amlwg ei fod yn feddianol ar allu dwyfol. Yn briodol y dywedai wrth yr Iuddewon, "Canys beth bynag y mae y Tad yn ei wneuthur, hyny hefyd y mae y Mab *yr un ffunud*

yn ei wneuthur." (Ioan v. 19.) Heblaw ei fod yn gwneuthur yr un gweithredoedd â'r Tad, yr oedd hefyd yn gwneuthur y rhai hyny yr un ffunud â'r Tad,—yn gwneud pethau yn union yr un fath ag y mae Duw yn eu gwneud. Yr oedd ei weithredoedd nerthol, a'r dull y cyflawnid hwynt ganddo, yn profi, gan hyny, ei fod yn feddianol ar yr un priodoliaethau dwyfol â'r Tad. Gwnaed hwynt hefyd i gadarnhau ei dystiolaethau am ddwyfoldeb ei berson; ac nis gallwn gredu am foment y buasai y nefoedd yn gosod ei sel wrth honiadau rhyfygus twyllwr a chablwr. "A llawer hefyd o arwyddion eraill a wnaeth yr Iesu yn ngŵydd ei ddysgyblion, y rhai nid ydynt ysgrifenedig yn y llyfr hwn. Eithr y pethau hyn a ysgrifenwyd, fel y credoch chwi mai yr Iesu yw Crist, Mab Duw, a chan gredu y caffoch fywyd yn ei enw ef." (Ioan xx. 30, 31.)

4. *Egluro amcan ei ddyfodiad i'r byd.* Arwyddent fod tuedd yn y grefydd y daethai efe i'r byd i'w sefydlu, i ddylanwadu yn ddaionus ar amgylchiadau tymhorol dynion; canys yr oedd ei wyrthiau yn fendithion tymhorol o werth anmhrisiadwy. Y mae Cristionogaeth yn edrych ar ddyn nid fel anifail, nac fel angel, ond fel dolen gydiol rhwng y ddau, neu fel bôd cyfansawdd, yn meddu corff ac enaid; ac felly "y mae ganddi addewid o'r bywyd sydd yr awrhon, yn gystal ag o'r hwn a fydd." Awgrymid hyny yn ngwyrthiau yr Iachawdwr, a byddai yn dda i'w eglwys ddysgu y wers hon, a chofio nad yw dynion yn ddigon ysbrydol, tra yn y byd yma, i fyw heb fwyd a dillad; ond fod gan y tlawd a'r anghenus gorff i'w gynnal, yn gystal ag enaid i'w gadw. Ond oherwydd mai yr enaid yw y rhan bwysicaf o'r dyn, amcan mawr y gwyrthiau oedd gosod allan yr iechydwriaeth ysbrydol sydd yn Nghrist. Yr oeddynt yn ddamegion mewn gweithredoedd, yn lle mewn geiriau; ac yn *gysgodau* o'i waith fel Gwaredwr ar eneidiau dynion. Fel yr oedd yr angelion santaidd gynt yn arfer ymwisgo mewn corff dynol pan yn ymweled â'r ddaear, felly yr oedd pob gwyrth yn fath o gorff i ryw wirionedd ysbrydol ac anweledig

Gweithredoedd o iachad oedd y rhan fwyaf o honynt; ac felly yr oedd cyfaddasrwydd neillduol ynddynt i osod allan waith mawr Crist fel "awdwr iechydwriaeth dragywyddol i'r rhai oll a ufuddhant iddo." Yr oedd yr anhwylderau corfforol a iacheid ganddo yn gysgodau o'r anhwylderau ysbrydol y mae yn gwaredu oddiwrthynt; canys yr hyn yw afiechyd i'r corff, dyna ydyw pechod i'r enaid. Y mae pechod fel afiechyd yn ymddangos mewn llawer o wahanol ffurfiau—yn atal gweithrediad y galluoedd a'r peirianau—ac yn diweddu mewn marwolaeth. Yr oedd y modd y deuai dynion at Grist i geisio gwaredigaeth yn ddangosiad o'r modd yr ydym ninau i fyned ato i geisio iechydwriaeth. Yr oeddynt wedi clywed son am dano, ac am ei allu gwyrthiol; yr oeddynt yn teimlo eu hangen am waredigaeth oddiwrth eu hanwylderau, ac yn credu y gallai yr Iesu eu hiachau a'u gwaredu. Ond yr oedd gan rai o honynt gryfach ffydd nag eraill; eithr ni ddarfu iddo ef erioed wrthod y rhai gwanaf eu ffydd. "Corsen ysig ni's tŷr, a llin yn mygu ni's diffydd," &c. (Math. xii. 20.) Yr oedd gwyrthiau yr Iachawdwr hefyd yn brawf o'i allu i'n gwaredu ninau oddiwrth bechod a'i ganlyniadau. "Mae y gweithredoedd nerthol hyn o eiddo yr Iesu," medd Bushnell, "y rhai a wnaed ac a sicrhawyd yn ddiamheuol, yn amlygiadau cymhwys i ni o'r ffaith, y gall efe wneuthur erom, yr hyn oll sydd yn eisieu arnom. Mae yn ddiamheu fod adgenhedlu natur syrthiedig yn orchwyl mawr ac anhawdd; ac ni feddyliodd neb fyddai wedi ei wir ddeffroi i ystyriaeth o'i gaethiwed truenus ac ofnadwy, yn amgen erioed. Ond yr hwn a gyffyrddai â'r llygaid deillion, ac a orchymynai i'r gwahanglwyf ymadael, yr hwn a gerddai ar y môr, ac a gyfodai y meirw, gan dori barau angeu ei hunan, a all ddofi y nwydau, pereiddio y serchiadau chwerwon, a gwellâu yr anhwylderau sydd yn perthyn i ni wrth natur, a threiglo yn ol holl ystormydd y meddwl. Wedi ein sicrhau fel hyn gan ei wyrthiau, y maent yn dyfod yn ddadleuon dros ymddiried, ac yn ystorfa o gyffelybiaethau grymus, y rhai

ydynt yn cryfhau calondid ac yn symbylu gobaith. Er ein bod wedi ein dryllio gan ein trallod, ein bwrw i lawr gan ein heuogrwydd, yn llawn cywilydd, ac yn llesg, nes yr ydym yn barod i anobeithio, nyni a allwn feiddio gobeithio eto y gellir cyflawni y wyrth fawr angenrheidiol ar ein heneidiau ; pe y gallem ond cyffwrdd âg ymyl gwisg Crist yr elai rhinwedd allan o hono i'n hiachâu."

Y mae y gwyrthiau, gan hyny, yn rhywbeth heblaw profion yn unig o ddwyfoldeb yr efengyl, y maent yn rhanau hanfodol o'r efengyl ei hun. Y maent yn ystorfëydd llawnion o drysorau dihysbydd, yn gystal ag yn amddiffynfëydd cedyrn i ddyogelu dinas Duw. Y maent yn addysg yn gystal ag yn brawf. Fel y dywed Westcott, "y mae gan bob un ei gwers briodol. Llefarant wrthym yn amrywiol gyfyngderau bywyd; llefarant wrthym yn mhresenoldeb angeu; llefarant wrthym mewn llawenydd a thristwch—yn nghwrs dyledswyddau cyffredin—yn ngofalon cartref — ac yn nhŷ Dduw."* Y mae o bwys mawr i ni ddeall hyn, a chofio fod pob un o honynt yn gyfoethog o ystyr, ac wedi ei bwriadu i ddatguddio ac amlygu rhyw wirionedd neillduol. Y mae gan Augustine gymhariaeth brydferth a tharawiadol, yn yr hon y mae yn cyffelybu yr hwn sydd yn edrych ar yr ochr allanol i wyrth, heb ddeall ei hystyr dufewnol, i ddyn heb fedru darllen ysgrifen, yn edrych ar ysgrif-lyfr hardd, ac yn rhyfeddu tlysni y llaw-ysgrif ; ond heb unrhyw ddirnadaeth am ei chynwysiad ; tra y mae yr ysgolhaig, sydd yn medru ei darllen, yn cael yn yr ysgrif-lyfr drysorau anmhrisiadwy o addysg a gwybodaeth.

* Gwel "*Characteristics of the Gospel Miracles*," tudal. 7.

## PENNOD IV.

### DOSBARTHIAD Y GWYRTHIAU.

Cymerwyd defnyddiau y bennod hon o'r llyfr bychan gwerthfawr y cyfeiriwyd ato eisoes, sef "*Characteristics of the Gospel Miracles*;" by B. F. Westcott, M.A. Y mae Mr. Westcott yn rhanu y gwyrthiau yn dri dosbarth: gwyrthiau ar natur: gwyrthiau ar ddyn: a gwyrthiau ar ysbrydion.

### I. Gwyrthiau ar Natur.

Y rhai canlynol oedd y gwyrthiau ar natur: troi y dwfr yn win; bendithio y torthau; gostegu y dymestl; rhodio ar y môr; y ddwy helfa o bysgod; y darn arian yn ngenau y pysgodyn; a gwywo y ffigysbren ddiffrwyth. Mae y gwyrthiau hyn mewn modd neillduol yn weithredoedd o allu ac arglwyddiaeth; ac y maent yn datguddio Crist yn ei berthynas ddeublyg â'r byd naturiol, sef fel ei Greawdwr, ac fel ei Lywodraethwr. Gellir rhanu y gwyrthiau ar natur yn ddau fath: gwyrthiau o allu, a gwyrthiau o gyfryngiad rhagluniaethol.

1. *Y gwyrthiau o allu* oeddynt y rhai hyn:—

(1.) *Troi y dwfr yn win:* Ioan ii. 1—12; yn yr hon y mae Crist yn ymddangos fel awdwr llawenydd.

(2.) *Bendithio y torthau:* Y tro cyntaf, pan oedd y rhai a borthwyd yn bum' mil o ŵyr heblaw gwragedd a phlant. Math. xiv. 15—21; Marc vi. 35—44; Luc ix. 12—17; Ioan vi. 5—14. Yr ail dro, pan oedd y dyrfa yn bedair mil o wyr heblaw gwragedd a plant. Math. xv. 32—39; Marc viii. 1—10. Yn y ddwy wyrth yma yr ydym yn gweled Crist fel awdwr cynnaliaeth.

(3.) *Rhodio ar y môr:* (Math. xiv. 22—36; Marc vi. 48, 49; Ioan vi. 16—21; Crist fel ffynonell nerth.

Mae gwyrthiau cyffelyb i'r rhai hyn yn yr Hen Destament; a gallwn gael llawer o addysg wrth eu cymharu â'u gilydd.

(1.) Mae troi y dwfr yn win yn ein hadgofio am Moses yn troi dyfroedd yr Aifft yn waed; ac yn pereiddio dyfroedd Marah; ac am Eliseus yn iachâu dyfroedd Jericho. (Exod. vii. 19; a xv. 23—26; 2 Bren. ii. 19—22.)

(2.) Mae bendithio y torthau yn arwain ein meddyliau at y manna, Exod. xvi. 4; at barhâd y blawd yn y celwrn, a'r olew yn y ysten, yn amser Elias (1 Bren. xvii. 14.); at amlhad olew y wraig weddw, yn amser Eliseus (2 Bren. iv. 1.); ac at y canwr yn cael eu porthi ag ugain o deisenau bychain o fara haidd. (2 Bren. iv. 42.)

(3.) Mae gwaith Crist yn rhodio ar y môr, yn peri i ni feddwl am y mynediad trwy y môr coch, a trwy yr Iorddonen. (Exod. xiv. 21; Jos. iii. 14; 2 Bren. ii. 8.)

2. *Y gwyrthiau o gyfryngiad rhagluniaethol* oeddynt y rhai hyn:—

(1.) *Yr helfa gyntaf o bysgod:* Luc v. 1—11. Yma y mae Crist yn ymddangos fel awdwr llwyddiant.

(2.) *Gostegu y dymestl:* Math. viii. 23—27; Marc iv. 35—41; Luc viii. 22—25. Gwelir yr Arglwydd Iesu yn hon fel "cymhorth hawdd ei gael mewn cyfyngder."

(3.) *Y darn arian yn ngenau y pysgodyn.* Math. xvii. 24—27: Yma ni a welwn ofal Crist i beidio rhoddi tramgwydd diachos, yn nghyd â'i hollwybodaeth, a'i allu dwyfol.

(4.) *Melldithio y ffigysbren.* Math. xxi. 19; Marc xi. 20; Crist yn rhoddi arwydd o'r farn oedd i ddisgyn ar y genedl Iuddewig; ac ar broffeswyr diffrwyth a rhagrithiol yn mhob oes a gwlad.

(5.) *Yr ail helfa o bysgod.* Ioan xxi. 1—33: Ernes eto o'r llwyddiant oedd i fod ar lafur yr apostolion; ac o'r wobr oedd yn eu haros ar ol gorphen eu gwaith.

Nid oedd y rhai hyn yn weithredoedd goruwchnaturiol *ynddynt eu hunain;* oblegid y mae pethau cyffelyb iddynt, yn enwedig i rai o honynt, megys yr helfa o bysgod, a gostegiad sydyn yr ystorm, &c., yn dygwydd yn fynych eto, yn ol trefn gyffredin natur a rhagluniaeth. Felly yr oedd y wyrth yn dyfod i'r golwg *yn yr amgylchiadau* yn hytrach

nag yn y ffeithiau eu hunain. Yr oedd i'r pethau hyn ddygwydd yn y dull a'r modd y gwnaethant yn profi yn eglur eu bod yn wyrthiau diamheuol.

### II. Gwyrthiau ar ddyn.

Gallu ac awdurdod Crist a welir amlycaf yn ei wyrthiau ar natur, ond y mae ei drugaredd a'i gariad yn ymddysgleirio yn ogoneddus yn ei wyrthiau ar ddyn. Yn y naill y mae yn ymddangos fel Arglwydd; ond yn y lleill y mae yn datguddio ei hun fel Gwaredwr. Ceir hanes rhai gwyrthiau o iachâd yn yr Hen Destament, ond yr oeddynt yn gyfyngedig i blâau neillduol. Ond yr oedd Iesu Grist yn "iachâu *pob* clefyd, a *phob* afiechyd yn mhlith y bobl." Yr oedd efe hefyd yn edrych i *mewn* ar ffynonell guddiedig yr anhwylderau a iachëid ganddo. Gwelai ei lygaid ef yn eglur y cysylltiad sydd rhwng drwg moesol a drwg naturiol, neu rhwng pechod a phoen. Yr oedd pob cystudd a phoen, a'r holl anrhaith a difrod a wneid gan angeu, yn ei olwg ef yn arwyddion o ddrwg annhraethol fwy a gwaeth, sef drwg moesol. Dywedir ei fod yn "ceryddu y cryd," ac "yn ceryddu y dymestl," fel pe buasent yn ymddangos iddo ef yn sylweddau personol.—O'r safle yma y mae y gwyrthiau o iachâd a gyflwynir ger ein bron yn yr Efengylau, yn ddatguddiad o obaith, adferiad, a maddeuant:—o obaith, fel yr oeddynt yn cael eu gwneuthur mewn oes o gyfyngder arbenig; o adferiad, yn eu cyffredinolrwydd a'u hamrywiaeth; ac o faddeuant, yn eu gwrth-gysgodau ysbrydol. Wrth gymeryd yr olwg ëang yma ar eu natur, y mae yn anmhosibl meddwl am Waredwr dwyfol yn ymddangos heb fod y cyfryw weithredoedd o gariad yn cael eu cyflawni ganddo. Byddai efengyl heb wyrthiau yn debyg i eglwys heb sacramentau. Byddai yr arwydd allanol o'r gras ysbrydol yn eisieu.

Mae yn deilwng o'n sylw fod gwyrthiau Crist ar ddyn, mewn modd neillduol, yn weithredoedd o'i eiddo yn nghyflawnder ei ddwy natur. Mae ei deimladau naturiol fel

dyn, a'i allu anfeidrol fel Duw, yn cydymddysgleirio ynddynt, fel y gwahanol liwiau yn yr enfys. Sonir am dano yn digio (Marc iii. 5.); yn rhyfeddu (Math. viii. 10.); yn tristâu (Marc iii. 5.; ac yn wylo (Ioan xi. 35.) pan yn cyflawni gweithredoedd a amlygent ei Hollalluowgrwydd yn eglur. Yr ydoedd nid yn unig yn *gweithio* dros, ac er mwyn dynion, ond hefyd yn *teimlo* gyda hwynt. Ymostyngai i arfer moddion naturiol er mwyn cryfhau ffydd wan; a gwnai arwyddion, wrth gyflawni rhai gwyrthiau, er mwyn deffro ffydd a orweddai yn guddiedig. Gellir rhanu ei wyrthiau ar ddyn yn y drefn ganlynol:—Gwyrthiau a wnaed mewn atebiad i gais y dyoddefwyr eu hunain; gwyrthiau a wnaed mewn atebiad i eiriolaeth eraill dros y dyoddefwyr; a gwyrthiau a wnaed ganddo o'i hunan-gynhyrfiol gariad, heb i neb ofyn na cheisio ganddo.

1. *Gwyrthiau a wnaed ar gais y dyoddefwyr eu hunain.*

(1.) *Glanhâu y gwahanglwyfus:* Math. viii. 1—4; Marc i. 40—45; Luc v. 12—16.

(2.) *Iachâu y wraig â'r diferlif gwaed:* Math. ix. 20—22; Marc v. 25—34; Luc viii. 43—48.

(3.) *Rhoddi eu golwg i ddau ddeillion:* Math. ix. 29—31.

(4.) *Glanhâu y deg gwahangleifion:* Luc xvii. 11—19.

(6.) *Rhoddi ei olwg i Bartimëus:* Math. xx. 29—34; Marc x. 46—52; Luc xviii. 35—43. Gwyrth briodol i Grist yn unig oedd agoryd llygaid y deillion. Nid oes hanes, hyd yr ydym yn cofio, am neb o'r proffwydi, na'r apostolion, yn gwneud hyny.

2. *Gwyrthiau a gyflawnwyd mewn atebiad i eiriolaeth cyfeillion dros y dyoddefwyr.*

(1.) *Iachâu mam gwraig Pedr:* Math. viii. 14, 15; Marc i. 29—34; Luc iv. 38—41.

(2.) *Iachâu mab y pendefig mewn atebiad i weddi ei dad:* Ioan iv. 44—54.

(3.) *Iachâu gwas y canwriad ar gais ei feistr:* Math. viii. 5—13; Luc vii. 1—10.

(4.) *Iachâu y claf o'r parlys:* Math. ix. 1—8; Marc ii. 1—12; Luc v. 17—26.

(5.) *Iachâu un mud a byddar:* Marc vii. 31—37.

(6.) *Y dall o Bethsaida yn derbyn ei olwg:* Marc viii. 22—26.

3. *Gwyrthiau a wnaed gan Grist o'i hunan gynhyrfiol gariad a'i dosturi.*

*(a)* Symud anhwylderau a chlefydau, a gwella rhai o aelodau y corff.

(1.) *Adferu y llaw oedd wedi gwywo:* Math. xii. 9—13; Marc iii. 1—5; Luc vi. 6—11.

(2.) *Iachâu y dyn claf wrth lyn Bethesda:* Ioan v. 1—17.

(3.) *Iachâu y dyn claf o'r dropsi:* Luc xiv. 1—6.

(4.) *Iachâu y wraig ag ynddi ysbryd gwendid:* Luc xiii. 10—17. Mae hon fel dolen gydiol rhwng y gwyrthiau ar ddyn, a'r gwyrthiau ar ysbrydion, fel y mae yn anhawdd gwybod i ba ddosbarth y mae yn perthyn yn fwyaf priodol.

(5.) *Rhoddi ei olwg i'r dall o'i enedigaeth:* Ioan ix.

(6.) *Iachâu clust Malchus:* Luc xxii. 51. Mae y wyrth hon yn rhoddi golwg i ni ar Grist yn meddyginiaethu y drygau a achosir gan sêl annoeth ei ganlynwyr.

*(b)* Cyfodi y meirw.

(1.) *Merch Jairus yn ystafell ei marwolaeth:* Math. ix. 18—25; Marc v. 22—43; Luc viii. 41—56.

(2.) *Y gŵr ieuanc o Nain ar yr elor:* Luc vii. 11—18.

(3.) *Lazarus o Bethania yn y bedd:* Ioan xi.

Y gyntaf, yn *unig ferch;* yr ail, yn *unig fab;* a'r trydydd, yn *unig frawd.*

Mae genym hanes am lawer yn dwyn eu cleifion at yr Iesu i'w hiachâu; ond nid oes son am neb erioed yn dwyn y marw ato i geisio ganddo ei adgyfodi. Yr oedd efe, yn y gwyrthiau hyn, yn myned tu draw i ddysgwyliadau dynion; ac yn dangos ei fod yn un "a ddichon wneuthur yn dra rhagorol, y tu hwnt i bob peth yr ydym ni yn eu dymuno, neu yn eu meddwl, yn ol y nerth sydd yn gweithredu ynom ni." (Eph. iii. 20.)

## III. Gwyrthiau ar Ysbrydion.

Yr ydym eisoes wedi gweled awdurdod yr Arglwydd Iesu, ar natur a'i deddfau, ac ar glefydau ac angeu. Yn awr, ni a gawn edrych arno yn gorchfygu galluoedd uffern; ac yn rhyddhâu a gwaredu y trueiniaid oeddynt yn cael eu meddianu, eu gorthrymu, a'u poenydio ganddynt. Mynych yr ydym yn darllen yn yr Efengylau am yr Iesu yn bwrw allan gythreuliaid. Arwyddai y gwyrthiau yma yn amlwg mai "i hyn yr ymddangosodd Mab Duw fel y datodai weithredoedd diafol." (Ioan iii. 8.) Y gwyrthiau ar ysbrydion, a gofnodir yn yr Efengylau, oeddynt y rhai hyn:—

1. *Bwrw y cythraul allan o'r dyn yn y synagog:* Marc i. 21—28; Luc iv. 31—37.

2. *Bwrw y lleng allan o'r dyn yn ngwlad y Gadareniaid:* Math. viii. 28—34; Marc v. 1—17; Luc viii. 26—37.

3. *Iachâu dyn mud cythreulig:* Math. ix. 32—34.

4. *Iachâu un cythreulig, dall, a mud:* Math. xii. 22; Luc xi. 14.

5. *Iachâu merch y wraig o Ganaan, mewn atebiad i weddi daer ei mam:* Math. xv. 21—28; Marc vii. 24—30.

6. *Rhyddhâu y wraig a rwymasid gan Satan, am ddeunaw mlynedd:* Luc xiii. 10—17.

7. *Iachâu y bachgen lloerig, mewn atebiad i weddi ei dad:* Math. xvii. 14—18; Marc ix. 14—27; Luc ix. 37—42.

Yr oedd y gwyrthiau hyn yn weithredoedd o farn ar yr angelion syrthiedig, ac yn rhagarwyddion o'u dinystr arswydlawn ac anadferadwy; ond yr oeddynt yn weithredoedd o drugaredd tuag at y dynion truenus a feddienid ganddynt. Rhagwelai yr Iesu mai un o'r prif wrthddadleuon a ddygid yn erbyn ei wyrthiau fyddai, ei fod yn eu cyflawni trwy swyngyfaredd; am hyny, y mae yn gwrthbrofi y cyhuddiad disail hwn yn mlaen llaw, trwy fwrw allan gythreuliaid, i ddangos yn eglur nad oedd efe mewn cyngrair â'r diafol; ond ei fod wedi dyfod i'r byd i ddinystrio ei deyrnas. "Ac os Satan a fwrw allan Satan, efe a ymranodd yn ei erbyn ei hun:" &c. (Math. xii. 22—30; Luc xi. 14—22.)

# PENNOD V.

## Y GWAHANIAETH RHWNG GWYRTHIAU CRIST A GWYRTHIAU ERAILL.

### I. Gwyrthiau yr Hen Destament.

Yr oedd yn naturiol dysgwyl, fel y sylwa Trench, y buasai llawer o debygrwydd, a llawer o wahaniaeth, rhwng gwyrthiau y ddwy oruchwyliaeth. Gan fod y ddau Destament yn rhanau o'r un gyfundraeth, gallesid dysgwyl cyffelybrwydd rhwng gwyrthiau y ddau; oblegid un o ddeddfau Duw ydyw fod yr isaf i gynwys hadau, a rhagarwyddion, o'r uchaf. Ond gallesid hefyd ddysgwyl y buasai llawer o wahaniaeth rhyngddynt, am fod yr oruchwyliaeth y daethai Crist i'w sefydlu yn rhagori cymaint ar yr oruchwyliaeth Foesenaidd: "Canys y *gyfraith* a roddwyd trwy Moses; ond y *gras a'r gwirionedd* a ddaeth trwy Iesu Grist." (Ioan i. 17.) Ac heblaw hyny *gweision* Duw oedd yn cyflawni gwyrthiau yr Hen Destament; ond gweithredoedd *Mab* Duw yw gwyrthiau y pedair Efengyl. Naturiol, gan hyny, yw dysgwyl annhebygrwydd ynddynt i'w gilydd. Yr oedd gwyrthiau Crist yn gwahaniaethu oddiwrth wyrthiau yr hen oruchwyliaeth yn y ddau beth canlynol:—

1. *Yn y dull y cyflawnid hwynt.* Yr oedd y proffwydi yn fynych yn cyflawni eu gwyrthiau gydag arwyddion o ymdrech ac anhawsder, a Christ, o'r tu arall, yn gwneud ei wyrthiau rhyfeddaf heb unrhyw drafferth nac ymdrech. Mae Moses, pan yn glanhâu Miriam oddiwrth y gwahanglwyf, yn gwaeddi ar yr Arglwydd, gan ddywedyd, "O Dduw, atolwg, meddyginiaetha hi yr awr hon" (Num. xii. 13.); ond y mae Crist yn glanhâu y gwahanglwyfus yn unig trwy estyn ei law, a chyffwrdd ag ef, gan ddywedyd,

"Mynaf, bydd lân." (Math. viii. 3.) Yr oedd yn rhaid i Elias ac Eliseus weddio ac ymdrechu yn galed, wrth gyfodi y meirw (1 Bren. xvii. 21, 22; 2 Bren. iv. 21—35.); ond yr oedd Crist yn deffro y marw mor rhwydd ag y deffry y fam ei baban bach pan fyddo yn cysgu yn ei gryd. Yr oedd yn rhaid i Moses gael ei wïalen i agor y môr, ac i gyflawni ei wyrthiau eraill (Exod. viii. 19; vii. 5, 16; ix. 23; x. 13; xiv. 16.); a chael pren i bereiddio dyfroedd chwerwon Marah (Exod. xv. 25.); ac yr oedd yn rhaid i Elias gael ei fantell i bollti yr Iorddonen (2 Bren. ii. 8.); ac i Eliseus gael phiolaid o halen i iachâu dyfroedd Jericho (2 Bren. ii. 20,); ond yr oedd Crist yn cyflawni y rhan fwyaf o'i wyrthiau â'i air yn unig, neu â chyffyrddiad ei law, i arwyddo fod y gallu gwyrthiol yn trigo ynddo ef, ac yn perthyn yn hanfodol iddo.

2. *Yn eu hysbryd a'u nodwedd dyner a grasol.* "Gan fod Moses," fel y sylwa un ysgrifenydd "yn ddeddf-roddwr a hefyd yn broffwyd, yn gyfrwng datguddiad deddf a gras, ceir y ddwy elfen yn ei wyrthiau; yr oeddynt ar unwaith yn wyrthiau o waredigaeth a dinystr. Gwelir ynddynt doster Duw a'i ddaioni. Yr oedd gwyrthiau yr Hen Destament yn cydweddu â natur deddf."* Yr oedd llawer o honynt yn farnau dychrynllyd, ac yn amlygiadau arswydlawn o ddigofaint sanctaidd Duw yn erbyn pechod. Felly yr oedd gwyrthiau yr Aifft, ac amryw o'r rhai a wnaed yn yr anialwch. Gwnaeth Elias ac Eliseus hefyd wyrthiau i ladd eu herlidwyr. (2 Bren. i. 10—12; ii. 23—25.) Yr oedd rhai megys Miriam, Gehazi, ac Uzziah, yn cael eu taro â'r gwahanglwyf trwy wyrth (Num. xii. 10; 2 Bren. v. 27; 2 Cron. xxvi. 19.); ond glanhâu y gwahangleifion yr oedd Crist, ac nid taro ei elynion â'r gwahanglwyf. Mae genym hanes yn yr Hen Destament am un llaw iach yn cael ei tharo â barn (1 Bren. xiii. 4.); ond nid am law wedi gwywo yn cael ei hiachâu. Ond daeth Mab y dyn, "nid i distrywio eneidiau dynion, ond i'w cadw;" ac am

* Gwel "TRAETHODYDD," Hydref, 1863.

hyny, yr oedd ei holl wyrthiau ef yn weithredoedd llawn o drugaredd a gras. Un wyrth yn unig a wnaeth efe i felldithio; ac nid ar Judas, na Chaiphas, na Herod, na Philat, y disgynodd y felldith y tro hwnw; ond ar ffigys bren diffrwyth yn ochr y ffordd.

## II. Gwyrthiau y Ffug Efengylau.

Mae y ffug Efengylau sydd ar gael yn dra addysgiadol a gwasanaethgar, fel y maent yn dangos i ni pa fath efengyl a wnaed, a pha fath Grist a ddyfeisiwyd, pan aeth dynion i geisio gwneuthur hyny trwy eu dyfais eu hunain yn unig, heb unrhyw gynnorthwy goruwchnaturiol. Wrth gymharu y pedair Efengyl â'r rhai hyn, yr ydym yn cael mantais neillduol i ganfod rhagoriaeth a gogoniant y gwir Efengylau. "Y mae y ffug Efengylau," medd Bushnell, "wedi eu hysgrifenu gan ddynion oeddynt yn byw mor agos i ddyddiau y Gwaredwr, fel y gallwn ddarganfod yn eu haddurniadau pa fath febyd a allasai dychymyg noeth yr oes hono ei ffurfio. Tra y mae yr Efengylau yn dweyd yn eglur na ddarfu i'r Iesu wneuthur unrhyw wyrthiau hyd onid oedd wedi dechreu ar ei weinidogaeth gyhoeddus, ac iddo ddechreu yn ei wyrth yn Cana, y mae y rhai hyn yn awyddus i'w wneuthur yn aruthrbeth *(prodigy)* yn ei febyd." Mae yn hynod fod yr holl wyrthiau a briodolir iddo yn y llyfrau hyn wedi cael eu cyflawni cyn iddo gael ei fedyddio gan Ioan—mewn geiriau eraill, y mae yr ysgrifeniadau dirmygus hyn yn honi iddo wneud ei wyrthiau i gyd yn y tymhor y dywed ei hanes gwirioneddol na wnaeth efe yr un wyrth. Nid anfuddiol, fe allai, fyddai rhoddi yma ychydig engreifftiau o'r gwyrthiau a briodolir i'r Iesu yn y ffug Efengylau, er mwyn i'r darllenydd gael mantais i weled y gwahaniaeth rhyngddynt â'i wyrthiau gwirioneddol. Hwy a ddywedant iddo, ar un achlysur, erlyn y plant eraill yn ei ddigofaint, y rhai a wrthodent gyd chwareu ag ef, gan eu troi yn fynod. Y mae plentyn arall

yn rhedeg yn ei erbyn yn ddamweiniol gan ei daflu i lawr; ac y mae yntau yn ei ddigofaint yn ei ladd â'i air yn unig. Ar achylusur arall, dywedir i ddadl gyfodi rhyngddo â'i athraw, yn nghylch y ffordd i ddysgu llythyrenau y wyddor Hebraeg, a phan darawyd ef gan ei athraw, iddo yntau wywo ei fraich a'i daflu i lawr yn farw. Y mae yn myned yn mlaen fel hyn i gyflawni gwyrthiau o ddïal, nes y mae Joseph o'r diwedd yn dweyd wrth Mair fod yn rhaid iddynt ei gadw yn y tŷ, am fod pawb y cyffröid ef yn eu herbyn yn trengu. Tra yn faban yn mreichiau ei fam y mae yn gorchymyn i balmwydden blygu, fel gallai Mair dynu ei ffrwyth, ac y mae y goeden yn ufuddhâu. Y mae yn myned i liwdŷ, tra y mae y lliwiedydd allan, ac yn taflu yr holl wisgoedd a'r gwëoedd a all efe ganfod, i gerwyn o un lliw; ond erbyn eu tynu allan, wele, y maent oll wedi eu lliwio bob un o'r lliw penodol a archesid. Y mae efe, a rhai o blant y pentref, un diwrnod, yn gwneud llun adar, ac anifeiliaid o glai, a phan y mae pob un yn canmol ei waith ei hun, y mae yr Iesu yn dweyd y rhoddai efe fywyd yn ei greaduriaid, a chyda y gair, wele ei adar ef yn ehedeg, a'r creaduriaid eraill yn dechreu neidio a chwareu, ac ar ei archiad y maent oll yn dychwelyd ato, ac yn bwyta o'i law. Dro arall, y mae ei fam yn ei anfon i'r ffynon i ymofyn dwfr, ac wedi tori ei biser, y mae yn dyfod â'r dwfr i'r tŷ yn ei gochl. Dywedir hefyd i'r ŷch a'r asyn ei addoli, pan ydoedd yn faban yn y preseb. Fel yr arwydda y dyfyniadau hyn, nid yw y ffug Efengylau ond anialwch diffrwyth, yn llawn o ryfeddodau heb un amcan na dyben iddynt. Mae y Crist a bortreiadir ynddynt yn ymddangos yn debycach i swynwr dïalgar a galluog, i'w ochel a'i arswydo, nag i Waredwr dwyfol a thrugarog, wedi dyfod i'r byd, "nid i ddamnio y byd; ond fel yr achubid y byd trwyddo ef." (Ioan. iii. 17.)

"Dyma," medd Bushnell, "yr hyn a ddyry Efengyl y Mabolaeth i ni, fel darluniad o febyd rhyfeddol yr Iesu. Mor annhebyg yw y blodeuyn paradwys sanctaidd hwnw, a ddarlunir yn y gwir Efengylau, a'r hwn y gwna ychydig

gyffyrddiadau dysyml iddo flodeuo mewn hunan-brawf prydferth o'n blaen! Yr ydym yn edrych megys ar agoriad y blodeuyn cysegredig, pan yn darllen diwedd yr ail bennod o Luc, ac megys yn sawrio perarogledd yn cael ei chwyfanu arnom o fydoedd eraill."*

## III. Gwyrthiau Paganaidd a Phabyddol.

Honir fod rhai personau, yn mhlith y paganiaid, yn yr hen oesoedd, yn meddu gallu gwyrthiol; ac y mae eglwys Rhufain, fel y mae yn hysbys, yn honi fod y doniau gwyrthiol yn parhâu ynddi hi trwy yr oesau a bod gwyrthiau dirif wedi eu cyflawni gan ei chardinaliaid, ei hoffeiriaid, a'i seintiau. Ni chaniata gofod i ni yn bresenol gynyg olrhain y chwedlau celwyddog a daenwyd yn nghylch y gwyrthiau hyn. Ond pwy bynag a gymero y drafferth i wneuthur hyny, fe wel yn eglur y fath annhraethol wahaniaeth sydd rhwng y dystiolaeth a gynygir o'u plaid, â'r profion nerthol sydd genym o ddidwylledd a gwirionedd gwyrthiau Crist; ac eto y mae anffyddwyr mor afresymol â haeru gan mai "rhyfeddodau *gau*" ydyw gwyrthiau y paganiaid a'r pabyddion, y dylid ymwrthod â gwyrthiau y Beibl hefyd fel twyll. Ond nid yw gau wyrthiau yn profi nad oes gwir wyrthiau, mwy nag y mae arian drwg yn profi nad oes arian da; ac nid oes neb mor ffol â gwrthod pob math o arian, am fod arian drwg yn cael eu lledaenu. Y mae yr arian drwg yn yn hytrach yn profi fod arian da, ac y mae y rhith a'r cysgod yn dangos fod sylwedd yn hanfodi yn rhywle; a'r un modd y mae gwyrthiau twyllodrus yn profi fod gwir wyrthiau wedi eu gwneud rywbryd; a bod tuedd reddfol mewn dynion i gredu yn y goruwchnaturiol.

* "*Trench on the Miracles*," p. p. 42—46; *Bushnell on the* "*Supernatural*, *Chap.* x.

# PENNOD VI.

## DIFLANIAD Y DONIAU GWYRTHIOL.

Y MAE rhai yn dal parhâd gwyrthiau; ond yn hollol ddisail, debygid. Yr ydym yn credu yn gadarn, ac yn addef yn rhwydd, fod rhagluniaeth y nef yn fynych yn cyfryngu mewn modd amlwg a hynod iawn, ar ran dynion duwiol, yn enwedig mewn adegau o gyfyngder a pherygl; a bod pethau rhyfedd yn cymeryd lle yn aml mewn atebiad i weddiau ffyddiog rhai o blant Duw; ond er y gall y pethau hyn ymddangos yn rhyfedd iawn, eto nid ydynt yn wyrthiau, yn ystyr briodol y gair. Y mae yn ddiau fod llawer engraifft o iachâd anghyffredin wedi dygwydd hefyd, o bryd i bryd, trwy ddylanwad grymus a dirgelaidd y meddwl ar y corff. Ond gellir dweyd yn hyf, nad oes neb yn y byd, yn awr, yn medru agoryd llygaid y deillion â chlai, neu â gair yn unig, a chyfodi y meirw, &c.; ac na phrofwyd eto fod y fath beth â gwyrth *wirioneddol a diamheuol*, wedi ei chyflawni ar ol yr oesau boreuaf o'r cyfnod Cristionogol. Mae yr holl wyrthiau yr honir iddynt gael eu gwneuthur yn y pymtheg can' mlynedd diweddaf, gan wahanol bersonau, a chan ddelwau a chreiriau, neu weddillion seintiau, naill ai yn driciau twyllodrus, o eiddo dynion cyfrwys a dichellgar (Math. xxiv. 24; 2 Thes. ii. 9.); neu ynte, yn bethau y gellir cyfrif am danynt ar egwyddorion naturiol. Mae llawer yn meddwl fod darfyddiad y doniau gwyrthiol yn anffawd a cholled ddirfawr, ac mai anghrediniaeth yr eglwys yw yr achos na byddent yn cymeryd lle eto, fel cynt. Ond ymddengys i ni fod hyn yn gamsyniad; à bod eu darfyddiad yn arwydd o gynydd, yn hytrach nag o ddirywiad. Dymunwn gyflwyno y sylwadau canlynol ar y mater i ystyriaeth y darllenydd:—

1. *Y mae lle i gredu nad oeddynt erioed wedi eu bwriadu i*

*barâhu.* Yr ydym yn cael i'r rhan fwyaf o lawer, o wyrthiau yr Hen Destament, gael eu cyflawni ar ddwy adeg neillduol, yn hanes cenedl Israel, sef yn nyddiau y Moses a Josuah, wrth sefydlu yr oruchwyliaeth Iuddewig; ac yn nyddiau Elias ac Eliseus, megys i ail sefydlu addoliad Jehofah, neu yn hytrach, i gadarnhâu ei sefydliad, pan oedd eulunaddoliaeth wedi ffynu i raddau dychrynllyd yn y wlad, ac yn cael ei noddi gan frenhinoedd annuwiol Israel. Ychydig, mewn cymhariaeth, o dduwiolion yr Hen Destament a gynysgaeddwyd â gallu gwyrthiol; ac ar ddechreuad cyfnodau newyddion a phwysig, yn hanes yr eglwys Iuddewig y gwnaed y rhan fwyaf o lawer o wyrthiau yr oruchwyliaeth hono. Mae hyn yn arwyddo mai pethau yn perthyn yn benaf i sefydliad goruchwyliaeth newydd, ac nid pethau i ddygwydd yn feunyddiol a pharhaus yw gwyrthiau. Pethau priodol i'r eglwys yn ei chyflwr mabanaidd ydynt. "Dillad magu yr eglwys oeddynt," medd Thomas Fuller, "ac nid gwisgoedd iddi ar ol tyfu i'w chyflawn faintioli." Neu, gellid eu cymharu i'r adeilglwyd *(scaffold)*, yr hon sydd yn cael ei thynu i lawr, a'i gosod o'r neilldu, wedi i'r adeilad gael ei gorphen. Mae llawer o bethau anghyffredin yn cymeryd lle yn aml ar esgyniad brenin i'w orsedd. Rhenir llawer o roddion, a rhyddheir carcharorion, &c., yn fynych ar achlysuron o'r fath; ond wedi i'r brenin unwaith gymeryd cyflawn feddiant o'r orsedd, a chael ei gydnabod gan y deyrnas, y mae y pethau hynod a wneid ar adeg ei goroniad, ac mewn cysylltiad â'i gyhoeddiad yn frenin, yn peidio. Rhyw bethau tebyg i hyn oedd y gwyrthiau: arwyddion a rhyfeddodau cydfynedol âg esgyniad Brenin Sïon i'w orsedd oeddynt.* Awgryma yr apostol yn 1 Cor. xiii. 8—10, mai pethau i ddiflanu yn fuan oeddynt. Ymddengys fod yr apostol yma yn cyferbynu sefyllfa yr eglwys wedi iddi gael y Testament Newydd yn gyflawn, â'i sefyllfa pan nad oedd ganddi ond ychydig o hono; yn gystal â sefyllfa y Cristion ar y ddaear a'i sefyllfa

* Gwel sylwadau Trench ar y mater yn el "*Notes on the Miracles*," tudal., 47—50.

wynfydedig yn y nef. Yr oedd y rhagfynegiad i gael ei gyflawni, mewn rhan yn y byd yma, trwy ddiflaniad y doniau gwyrthiol, wedi i'r eglwys gyrhaedd megys i oedran gŵr, yr hyn a wnaeth pan orphenwyd y Datguddiad dwyfol.

2. *Nid ydynt mwyach yn angenrheidiol.* Er fod y dawn gwyrthiol wedi peidio, eto y mae y *gwyrthiau eu hunain* genym yn barhaus, yn yr Ysgrythyrau; ac felly y mae gan yr eglwys, yn mhob oes a gwlad, gystal mantais i gael addysg a lles trwyddynt, ag oedd gan y bobl a'u gwelsant yn cael eu cyflawni. Y mae hanes y gwyrthiau a wnaed ar sefydliad Cristionogaeth, gan hyny, yn gwneud eu parhad yn ddiangenrhaid. Buasai yn fwy o foddhad i'n cywreinrwydd, yn ddiau, gael eu gweled a'n llygaid, na darllen eu hanes; ond pan y byddom yn teimlo tuedd i eiddigeddu, wrth y rhai a gawsant y fraint o fod yn llygaid-dystion o honynt, bydded i ni gofio geiriau y Gwaredwr: "Bendigedig yw y rhai ni welsant, ac a gredasant."

Yr oedd gwyrthiau yn angenrheidiol i brofi dwyfol anfoniad ac awdurdod y proffwydi a'r apostolion, am fod ganddynt hwy genadwri, wedi ei derbyn yn uniongyrchol a digyfrwng oddiwrth Dduw, i'w chyhoeddi. Ond nid yw yr Arglwydd yn rhoddi datguddiadau felly i neb yn bresenol, wedi i'r gyfrol ysbrydoledig gael ei gorphen. Pe deuai rhyw ddysgawdwr atom gan honi fod ganddo ryw athrawiaeth newydd i'w chyhoeddi, wedi ei chael yn uniongyrchol o'r nefoedd, trwy ddatguddiad goruwchnaturiol, fel yr hen broffwydi gynt, teg fyddai galw arno i wneud gwyrth *ddiamheuol* i brofi ei ddwyfol anfoniad; a'n dyledswydd fyddai peidio gwrando ar y "breuddwydydd breuddwyd" hwnw, hyd nes y gwnelai hyny. Pan y mae Cenhadon Cristionogol yn myned allan i wledydd paganaidd, nid myned yno i gyhoeddi athrawiaethau wedi eu datguddio iddynt trwy ddwyfol ysbrydoliaeth y maent; ond myned yno i bregethu y Beibl, yr hwn y mae ganddynt ddigon o brofion o'i ddwyfoldeb i gyfeirio atynt, fel nad oes eisieu iddynt hwy eu hunain wneud gwyrthiau i brofi mai gair Duw ydyw. Mae y

Testament Newydd, yr argraff-wasg, a'r gelfyddyd feddygol hefyd, yn awr yn llenwi lle llawer o'r doniau gwyrthiol, oedd yn yr eglwys yn yr oes apostolaidd. Mae Cymdeithas y Beiblau, trwy gyfieithu yr Ysgrythyrau i wahanol ieithoedd, yn gwneud yr un peth yn bresenol ag a wneid ar ddydd y Pentecost, trwy y "tafodau gwahanedig megys o dân," a ddisgynodd ar yr apostolion. Mae dynion o ugeiniau o wahanol ieithoedd, yn awr yn clywed y Gymdeithas fendithiol hon yn llefaru wrthynt, bob un yn eu hiaith eu hunain, yn yr hon y ganed hwynt, fawrion weithredoedd Duw.

3. *Buasai y rhai sydd yn parhâu yn eu hanghrediniaeth yn ngwyneb y manteision sydd ganddynt, yn dra thebygol o barhâu felly er gweled gwyrthiau yn cael eu cyflawni.* Gwyddom mai felly y parhâodd llawer o'r Iuddewon, yn ngwyneb gwyrthiau y Gwaredwr:—"Eithr dywedais wrthych," meddai, "i chwi fy ngweled ac nad ydych yn credu." "Ac er gwneuthur o hono ef gymaint o arwyddion yn eu gŵydd hwynt, ni chredasant ynddo." "Oni wrandawant ar Moses a'r proffwydi, ni chredent chwaith pe codai un oddiwrth y meirw." (Ioan vi. 36; xii. 37; Luc xvi. 31.) Mae yn debygol y dychrynent, pe codai un oddiwrth y meirw; ond ni *chredent;* fel y mae hanes llawer o'r rhai o welsant Lazarus o Bethania, ar ol ei adgyfodiad, yn nghyda hanes y milwyr oeddynt wrth fedd y Gwaredwr, fore y trydydd dydd, yn profi.

4. *Buasai eu parhâd yn dinystrio eu dylanwad.* Mae yn ffaith hysbys fod dynion yn cynefino yn fuan â'r pethau rhyfeddaf, nes y maent yn colli eu heffaith arnynt; ac felly pe buasai gwyrthiau yn bethau arferol a chyffredin aethai dynion yn mhen amser yn ddiystyr o honynt. Mae genym ddigon o brofion o hyn yn hanes meibion Israel yn yr anialwch. Diau i'r olwg ar y manna, pan y gwelsant ef gyntaf, wedi ei wlawio o'r nefoedd, ar wyneb yr anialwch, o amgylch eu pebyll, eu llenwi â syndod a diolchgarwch; ond aethant yn fuan i edrych ar "fara angelion," gyda chyn lleied o syndod, ag yr ydym ninau yn edrych ar yr

ýd melwynwyn, yn chwareu dan yr awelon, ac yn addurno ein meusydd yn adeg y cynhauaf. Mawr oedd eu syndod a'u llawenydd pan darawodd Moses y graig a'i wïalen, ac y rhuthrodd cyflawnder o ddyfroedd allan o galon y graig, yn rhaiadr trochionog a thrystfawr i'w diodi hwynt, a'u hanifeiliaid, pan oeddynt ar drengu o syched. Ond gan i'r afon wyrthiol hon barhâu i ganlyn y gwersyll, am yn agos i ddeugain mlynedd, heb i wres yr haul ei sychu, nac i dywod crasboeth yr anialwch ei llyncu, aethant yn fuan i edrych arni gyda chyn lleied o syndod ag yr ydym ninau yn edrych ar y ffrwd a ddichon fod yn llifo heibio i'n tai. Yr oedd y golofn niwl a thân yn myned o'u blaen i ddangos y ffordd iddynt, ac hefyd yn ymdaenu dros y gwersyll ar ffurf gwlawlen *(umbrella)* anferth, haner agored, i'w cysgodi rhag pelydrau llosgedig yr haul yn Arabia boeth, a hyny am ddeugain mlynedd, heb i'r niwl gael ei ddileu gan yr haul, na'i chwalu gan y gwyntoedd, ac heb i'r tân gael ei ddiffodd gan y gwlawogydd a'r tymhestloedd. Dysgleiriai y tân oedd yn y golofn trwy y niwl bob nos i oleuo yr holl wersyll. Ond er mor rhyfedd oedd y golofn oruwchnaturiol hon, aeth plant Israel cyn hir i edrych arni gyda chyn lleied o syndod ag yr ydym ninau yn edrych ar yr haul, y lloer, neu yr enfys. Dengys hyn mor dueddol yw dynion i gynefino â'r gwyrthiau rhyfeddaf; ac felly pe buasai gwyrthiau yn cael eu gwneud yn barhâus aethai y byd i edrych arnynt fel pethau hollol gyffredin. Priodol y dywed un, nad yw nerth gwyrthiau fel nerth byddin—yn beth i'w ychwanegu trwy lïosogi eu nifer.

5. *Wedi i ddigon o arwyddion gael eu rhoddi ar sefydliad Cristionogaeth, i ateb prif ddybenion gwyrthiau, ni buasai eu parhâu ond porthi cywreinrwydd dynion.* Wedi i Grist roddi digon o brofion i'r Iuddewon o'i ddwyfol anfoniad, y mae yn eu beio, ac yn eu ceryddu, am geisio ychwaneg o arwyddion; ac yn gwrthod boddloni eu cywreinrwydd, trwy wneuthur rhagor o wyrthiau yn eu gŵydd, fel y ceisient. (Math. xii. 38, 39; xvi. 4; Marc viii. 12; Ioan iv. 48.)

6. *Mae yn anhawdd penderfynu yn sicr pa bryd y peidiodd y gwyrthiau.* Mae yr enwog Chrysostom, yr hwn a anwyd tua'r flwyddyn 354, yn dweyd yn bendant nad oeddynt yn cael eu cyflawni yn ei ddyddiau ef. "Na fydded i neb," meddai, "haeru fod y ffaith nad oes dim gwyrthiau yn cymeryd lle yn awr, yn profi na wnaed gwyrthiau yn nyddiau yr apostolion: yr oeddynt yn ddefnyddiol y pryd hwnw, ond ni byddent felly yn awr." Yna y mae yn myned rhagddo i egluro a phrofi paham na buasent felly. Mae yn dra thebygol mai yn *raddol* y diflanodd y doniau hyn o'r eglwys, fel yr oedd y personau hyny a dderbyniasent y doniau trwy arddodiad dwylaw yr apostolion, yn meirw o un i un. Yr oedd gan yr apostolion awdurdod i gyfranu doniau gwyrthiol; ond nid yw yn ymddangos fod gan y rhai a'u derbynient oddiwrthynt allu i'w cyfranu i eraill.

7. *Yn ngwyneb fod y doniau gwyrthiol wedi diflanu, y mae yn hyfryd meddwl fod y pethau pwysicaf a gwerthfawrocaf yn aros, ac yn parhâu.* "Yr awrhon y mae YN AROS ffydd, gobaith, cariad." (1 Cor. xiii. 13.) Y mae dawn mewn llawer mwy o fri yn mhlith dynion na gras; ond y mae gras cadwedigol, er hyny, yn annhraethol werthfawrocach na'r doniau mwyaf godidog. Cariad, fel y dengys yr apostol, yw y peth mwyaf a gwerthfawrocaf; ac y mae hwnw yn beth y gall pawb ei feddu; oblegyd fe fedr y plentyn bach, a'r wraig weddw dlawd, garu gystal â'r angel a'r seraff. Y mae cael gras i dosturio wrth y tlawd, ac i'w gynorthwyo trwy elusen, yn well na chael gallu i symud ymaith ei drueni trwy wyrth. Y mae cael gras i beidio caru aur, mwy na'r cerig sydd dan ein traed, yn well o lawer, na chael gallu i droi y cerig sydd dan ein traed yn aur; ac y mae cael gras i farw dros Grist, pe byddai eisieu, yn llawer gwell na chael gallu i godi y marw yn enw Crist. Nid oes dawn gwyrthiol i'w gael yn awr; ond y mae gras cadwedigol i'w gael o hyd. Y blodeu prydferth ar "Bren y Bywyd" oedd y gwyrthiau; rhagarwyddion o'r bendithion ysbrydol sydd yn Nghrist oeddynt. Yr oedd y Pren yn ei

lawn flodeu ddeunaw can' mlynedd yn ol; ac O! yr olwg ogoneddus oedd arno; ond er fod y blodeu wedi diflanu, er ys amser maith bellach, eto y mae rhywbeth gwell wedi dyfod yn eu lle, sef cnwd toreithiog o ffrwythau aeddfed a danteithiol—maddeuant, sancteiddrwydd, nerth, tangnefedd, a chysur, &c. Gobeithio y gwyddost ti, a minau, ddarllenydd caredig, am brofiad yr eglwys, pan y dywedai, "Bu dda genyf eistedd dan ei gysgod ef, a'i ffrwyth oedd felus i'm genau." (Can. ii. 3.)

# Y GWYRTHIAU.

## I.

### TROI Y DWFR YN WIN.

"*Hyn o ddechreu gwyrthiau a wnaeth yr Iesu yn Cana Galilea, ac a eglurodd ei ogoniant; a'i ddysgyblion a gredasant ynddo.*"
IOAN ii. 1—11.

Y MAE y briodas fechan, y sonir am dani yn nechreu y bennod hon, yn taflu holl briodasau brenhinol y byd, er cymaint eu mawredd a'u rhwysg, i'r cysgod. Yr hyn a wnaeth y briodas hon yn fwy enwog a dyddorol, nag unrhyw briodas arall fu yn y byd erioed, oedd gwaith yr Iesu yn ei hanrhydeddu â'i bresenoldeb, ac yn gwneuthur ei wyrth gyntaf, neu o leiaf ei wyrth *gyhoeddus* gyntaf, ynddi.

Ond er mai hon oedd y wyrth gyntaf a wnaed gan Grist ei hun, eto, yr oedd llawer o wyrthiau wedi eu gwneud arno, ac erddo, o'r blaen, i'r dyben o egluro ei ogoniant. Er mai morwyn dlawd, ac nid pendefiges urddasol, oedd ei fam; ac er iddo gael ei eni, nid mewn palas gorwych, ond yn llety yr anifail; a'i ddodi i orwedd, nid mewn cryd goreuredig ond yn y preseb, eto yr oedd mwy o ogoniant yn nglŷn â'i enedigaeth, nag a fu yn nglŷn â genedigaeth unrhyw dywysog na brenin daearol erioed. Llewyrchodd rhyw oleuni dysglaer, o amgylch y bugeiliaid y noswaith y ganed ef, fel pe buasai y ddinas nefol wedi ei chlaer-oleuo yn ysblenydd, arwydd o lawenydd a gorfoledd ar yr achlysur; a daeth côr o angelion i ganu anthem ei enedigaeth, yn yr awyr uwch meusydd Bethlehem. A beth oedd y seren oruwchnaturiol, hono a arweiniodd y doethion o'r dwyrain ato, i'w addoli, ond lamp euraidd a dysglaer yn cael ei chario o'u blaenau

yn llaw rhyw angel o'r nef? Drachefn, pan y'i bedyddiwyd gan Ioan, agorwyd y nefoedd iddo, disgynodd Ysbryd Duw megys colomen arno; ac "wele lef o'r nefoedd yn dywedyd, Hwn yw fy anwyl Fab," &c. (Math. iii. 13—17). Fel hyn yr yr oedd gwyrthiau lawer wedi eu gwneud i egluro ei ogoniant, cyn iddo ef ei hunan ddechreu datguddio ei ogoniant trwy wneud gwyrthiau. Mae tuedd ryfeddol mewn dynion i geisio dangos eu hunain, os meddyliant fod ganddynt rywbeth gwerth ei ddangos; ond cadwodd ein Gwaredwr ei allu, a'i ogoniant dwyfol, yn guddiedig am y deng mlynedd ar hugain cyntaf o'i oes; ac y mae yr hunanymwadiad, a'r gostyngeiddrwydd, a ddangosodd yn hyn, llawn mor rhyfedd ag unrhyw wyrth a wnaeth erioed. Ond wedi i'w ogoniant dwyfol fod cyhyd dan len, yr oedd yr amser wedi dyfod o'r diwedd iddo i gael ei amlygu. Telir sylw manwl yn gyffredin i'r weithred gyhoeddus gyntaf a gyflawnir gan frenin, ar ol ei esgyniad i'w orsedd, am yr edrychir ar hono fel arwydd o'i fwriadau, ac fel argoel o'r hyn a ellir ei ddysgwyl oddiwrtho. Felly hefyd y mae y wyrth gyntaf hon o eiddo ein Gwaredwr, yn teilyngu sylw arbenig, am ei bod hi yn cynwys llawer o awgrymiadau pwysig a gwerthfawr, gyda golwg ar ei gymeriad, ac ar ddybenion ei ddyfodiad i'r byd.

Yr *amser* y cyflawnwyd y wyrth hon oedd "y trydydd dydd," wedi yr ymddiddan a goffeir yn niwedd y bennod o'r blaen rhwng yr Iesu a Nathanael. (Ioan i. 47—51.) Yr oedd Crist wedi rhoddi arwydd o'i Dduwdod i Nathanael, trwy ddweyd wrtho ei fod wedi ei weled pan ydoedd dan ryw ffigysbren, yn myfyrio ac yn gweddio; ac yr ydoedd wedi addaw iddo y cai efe weled pethau mwy na hyny, ac yma, yn mhen y tridiau, y mae yn dechreu cyflawni ei addewid.

Y *lle* oedd Cana yn Galilea, pentref bychan, tua deuddeg neu bymtheg milldir i'r gogledd o Nazareth. Buasem ni yn barod i ddysgwyl i'r Iesu roddi yr amlygiad cyntaf o'i allu gwyrthiol yn Jerusalem, ar un o'r gwyliau arbenig, ac yn ngolwg miloedd o edrychwyr synedig; ond yn lle hyny,

mewn pentref distadl a dinod yn Galilea, y dewisodd efe wneud ei wyrth gyntaf. Dengys hyn mor bell oedd efe oddiwrth bob peth tebyg i wag-ogonedd. "Addfwyn ydoedd a gostyngedig o galon."

Yr *achlysur* oedd priodas. Nid yw yn hysbys pwy oedd y priod-fab na'r briod-ferch; ond y mae lle cryf i gredu eu bod yn berthynasau agos i Mair; canys ymddengys fod arolygiaeth a rheolaeth y tŷ, yn amser y briodas, wedi ei ymddiried iddi hi. Erbyn i'r Iesu a'i ddysgyblion gyrhaedd o làn yr Iorddonen i Nazareth, nid oedd ei fam gartref i'w dderbyn a'i groesawu; canys yr oedd hi wedi myned i Cana i briodas ei cheraint. Y mae yntau a'i ddysgyblion yn myned yn mlaen tuag yno:—"*A galwyd yr Iesu hefyd a'i ddysgyblion i'r briodas.*" Ac yn lle dweyd ei fod yn rhy sanctaidd i fyned i le o'r fath, ac na buasai hyny yn gyson â'i urddas a'i ogoniant, y mae ein bendigedig Waredwr, gyda phob sirioldeb a pharodrwydd, yn derbyn y gwahoddiad. Dangosai wrth hyn ei fod yn dra gwahanol i'w ragflaenor enwog, Ioan Fedyddiwr. Dyn llym-fucheddol oedd Ioan, yn byw mewn unigedd wrtho ei hunan yn yr anialwch, heb gyfeillachu fawr â neb, na bwyta nac yfed ond ychydig, a hyny o'r pethau mwyaf cyffredin. Ond yr oedd yr Iesu, o'r tu arall, yn hynod o gyfeillgar, ac yn fwynaidd a charedig yn ei holl ymddygiadau. Llawenhai gyda'i gyfeillion yn eu hapusrwydd, a chydymdeimlai â hwynt yn eu hadfyd; ac nid oedd plant bychain, a'u chwareuon difyrus a diniwed, islaw ei sylw ef. Yr oedd ynddo bob peth i enill y galon i'w garu, yn gystal a'i barchu. Sylwai yr Iuddewon ar y gwahaniaeth oedd rhyngddo ef ag Ioan; a gwnelent hyny yn achlysur i ddwyn y cyhuddiadau mwyaf disail a chableddus yn ei erbyn: "Canys daeth Ioan heb na bwyta nac yfed; ac meddant, Y mae cythraul ganddo. Daeth Mab y dyn yn bwyta ac yn yfed; ac meddant, Wele ddyn glwth, ac yfwr gwin, cyfaill publicanod a phechaduriaid." (Math. xi. 18, 19.)

Yr oedd dysgybylion cyntaf ein Harglwydd, neu o leiaf rai

o honynt, wedi bod yn ddysgyblion i Ioan, a dichon fod perygl iddynt, oherwydd y parch a deimlent i'w hen athraw, dynu cam-gasgliad oddiwrth ei ddull marweiddiadol ef o fyw; a rhoddi gormod o bwys ar ymprydio, a meddwl mai eu dyledswydd oedd ffoi rhag y byd, yn hytrach na'i orchfygu. Ond wele yr Iesu yn eu cymeryd ar y dechreu i briodas, i ddysgu iddynt hwy, a ninau, nad yw ei grefydd ef yn annghymdeithasol, nac yn gwahardd unrhyw ddifyrwch na mwyniant diniwed. Nid "arfer y byd;" ond ei "*gam arfer*," sydd yn bechod. Y mae Cristionogaeth yn caniatâu i ni fyned i "dŷ gwledd," gystal a "thŷ galar;" ond dylem gofio yn wastad am wahodd yr Iesu i fyned gyda ni; canys y mae llawn cymaint o angen ei bresenoldeb ef mewn priodasau a gwleddoedd, ag sydd o'i eisieu mewn cystuddiau ac angladdau.

Y mae yn ddïau i'r Iesu roddi ei bresenoldeb yn y briodas, a gwneud ei wyrth gyntaf ynddi hefyd, i'r dyben o osod anrhydedd ar briodas, am ei bod yn ordinhad o ddwyfol osodiad, ac yn gysgod o'r undeb dirgeledig sydd rhyngddo ef â'i eglwys. Yr oedd efe yn rhagweled y cyfodai dynion yn ei eglwys "yn gwahardd priodi," (1 Tim. iv. 3.) a gofalodd na byddai i'r cyfryw gael unrhyw gefnogaeth oddiwrth ei ymddygiad a'i esiampl ef.

Bu dyfodiad annysgwyliadwy yr Iesu, a phump o'i ddysgyblion, i'r briodas, yn achos i'r gwin ddarfod cyn diwedd y wledd. Gofidiai Mair dros y teulu, wrth weled y gwin yn darfod, ac wedi galw yr Iesu o'r neilldu, y mae yn hysbysu yr amgylchiad iddo: "*A phan ballodd y gwin, mam yr Iesu a ddywedodd wrtho ef, Nid oes ganddynt mo'r gwin.*" Ymddengys fod gan Mair ryw ddysgwyliad y buasai yr Iesu yn gwneud y diffyg i fynu mewn modd gwyrthiol. Y mae yn anhawdd gwybod yn sicr ar ba sail yr oedd hi yn dysgwyl hyny. Fe allai, er mai hon oedd ei wyrth gyhoeddus gyntaf, ei fod wedi arfer gwneud ambell wyrth ddirgelaidd gartref, o'r blaen, pan y byddai ei fam mewn angen am rywbeth. Yr oedd hi wedi clywed pethau gogoneddus am

ei allu gan angelion, a dichon fod y dysgyblion wedi adrodd iddi hanes y pethau rhyfedd a gymerasent le yn ddiweddar ar làn yr Iorddonen. Cofiai hefyd fod Elias ac Eliseus wedi amlhâu olew y ddwy wraig weddw gynt, a chan fod yr Iesu yn fwy na neb o'r proffwydi, yr oedd yn gwbl sicr ganddi ei fod ef yn abl i wneud y diffyg yma i fynu.

Ond nid yw yr Iesu yn cymeradwyo gwaith ei fam yn rhoddi awgrym iddo i wneud gwyrth; "*Iesu a ddywedodd wrthi, Beth sydd i mi â wnelwyf â thi, wraig? ni ddaeth fy awr i eto.*" Na ato Duw, i ni dybied am foment, oddiwrth y geiriau hyn, fod ein Gwaredwr bendigedig yn ddiffygiol mewn parch i'w fam. Y mae genym ddigon o brofion i'r gwrthwyneb. Gallesid meddwl na buasai ganddo, pan yn hoeliedig ar y groes, hamdden i feddwl am ddim ond ei boenau arteithiol ei hun; ond yn yr amgylchiadau hyny, pan oedd dïoddefiadau ei gorff a'i enaid tu hwnt i amgyffred dyn nac angel, a phan ydoedd ar ganol cyflawni gwaith mwy na chreu y bydoedd, nid anghofiodd ei fam weddw, ond cyflwynodd hi yn dirion â'i anadl ddiweddaf, i ofal y dysgybl anwyl. (Ioan xix. 26, 27.) Dan yr enw *gwraig*, ac nid *mam*, y cyfarchodd efe hi y pryd hwnw hefyd; y mae yn sicr, gan hyny, nad oedd ei waith yn ei hanerch wrth yr enw hwn yn awr, yn y briodas, yn un anmharch na diystyrwch arni. Peth cyffredin yn ngwleddydd y dwyrain oedd i'r rhai a berchid fwyaf gael eu cyfarch yn y modd hyn. Mae yn ddiau i'r Iesu hefyd lefaru y geiriau dan sylw wrth ei fam, mewn tôn a llais addfwyn a hynaws. Ond wedi y cwbl, y mae yn ymddangos fod y geiriau yn cynwys cerydd tyner i Mair, am dybied fod ganddi awdurdod arno yn yr hyn a berthynai i'w Dduwdod a'i weithredoedd gwyrthiol. Mynai efe iddi gofio ei fod yn Fab Duw, gystal â Mab Mair, ac felly ei fod yn Arglwydd arni, gystal ag yn Fab iddi; ac mai gweithredoedd perthynol iddo fel Mab Duw oedd ei wyrthiau; ac o ganlyniad, nad oedd ei pherthynas hi ag ef yn rhoddi un hawl nac awdurdod iddi i'w orchymyn, na'i gyfarwyddo pa bryd, na

pha fodd, i ddefnyddio ei allu gwyrthiol. Fel ei Harglwydd a'i Duw, ac nid fel ei Mab, yr oedd efe yn gwneud gwyrthiau. Mae yn syndod fod eglwys Rhufain, ar ol darllen y geiriau hyn, mor ynfyd a meddwl fod gan Mair awdurdod ar Grist yn awr, yn ei gyflwr dyrchafedig ar orsedd y nef. Galwant hi yn frenhines y nefoedd, a gwnant hi yn wrthddyrch addoliad, ac yn gyfryngydd rhwng dynion â Christ. Ond "un Duw sydd, ac un Cyfryngwr hefyd rhwng Duw a dynion y dyn Crist Iesu." (1 Tim. ii. 5.)

Y mae yr Iesu, tra yn rhoddi cerydd tyner i'w fam am ymyryd ag ef yn yr hyn oedd uwchlaw ei hawdurdod, ar yr un pryd yn rhoddi awgrym iddi y byddai iddo wneud gwyrth fel yr oedd hi yn dymuno, er mai nid *am* ei bod hi yn ceisio ganddo y gwnai efe hyny. "*Ni ddaeth fy awr i eto,*" meddai. Meddwl yr ymadrodd hwn yw, nad oedd yr amser priodol iddo ef i amlygu ei allu gwyrthiol wedi llawn ddyfod i fynu eto. Yr oedd yn rhaid i'r gwin lwyr ddarfod yn gyntaf. Rhoddodd Mair y deongliad priodol ar yr ymadrodd hwn; deallodd ei fod yn cynwys awgrym o fwriad yr Iesu i wneud y diffyg i fynu trwy wyrth; ac am hyny hi a ddywedodd wrth y gwasanaethwyr *(waiters)*, "*Beth bynag a ddywedo efe wrthych, gwnewch.*" "Dichon y dywed efe wrthych am wneud rhywbeth fydd yn ymddangos i chwi yn hollol afreidiol a difudd, ond fe allai y bydd ganddo ef resymau dros hyny, na byddwch chwi yn eu deall, ac am hyny byddwch yn sicr o wneud pa beth bynag a geisia efe genych." Mae yn gweddu i ninau gymeryd a gwneud cynghor Mair, trwy roddi ufudd-dod cyffredinol i holl orchymynion y Gwaredwr. (Heb. v. 9.)

Wrth sylwi ar ddull cyflawniad y wyrth hon, ni a welwn iddi gael ei gwneud yn y fath fodd fel na byddai lle i neb ddrwg-dybio fod unrhyw dwyll ynddi: "*Ac yr oedd yno chwech o ddyfrlestri meini wedi eu gosod yn ol defod puredigaeth yr Iuddewon, &c.*" Yr oedd y llestri hyn wedi eu gosod wrth y fynedfa i'r tŷ, ond odid, am fod cymaint o olchiadau yn mhlith yr Iuddewon. Nis gellir gwybod yn sicr pa faint

o'n mesur ni oedd y ffircynau y sonir am danynt yma; ond tybir fod yr holl lestri hyn yn dal yn rhywle o bedwar ugain a deg, i gant ac ugain, o alwyni. I wneuthur gwirionedd y wyrth yn ddiamheuol y mae yr Iesu yn gorchymyn, nid i'w ddysgyblion, ond i'r gwasanaethwyr, lenwi y dyfrlestri hyn o ddwfr. Gan mai *dyfrlestri*, ac nid *gwinlestri*, oedd y rhai hyn, nis gallasai fod yno ddim gwin yn ngwaelod y llestri, i droi lliw a blas y dwfr. Llanwyd hwynt hefyd hyd yr ymyl, ac felly nid oedd dim lle i gymysgu ychydig o win â'r dwfr, mewn modd dirgelaidd. Ac y mae tystiolaeth llywodraethwr y wledd hefyd, a hyny cyn gwybod o ba le y cawsid y gwin, yn profi mai nid rhyw win gwan a theneu felly ydoedd hwn, ond gwin o'r fath oreu. (Adn. 10.) Wedi i'r gwasanaethwyr lenwi y dyfrlestri o ddwfr, y mae yr Iesu yn dweyd wrthynt, "*Gollyngwch yn awr, a dygwch at lywodraethwr y wledd.*" Beth oedd syndod y gweision pan welsant y dwfr glân, oeddynt newydd ei dywallt i'r llestri, yn rhedeg allan o honynt yn win coch? Mor ddigelaidd a didrafferth y gwnaeth yr Iesu y wyrth hon! Dywed y bardd i'r gwrid godi i wyneb y dwfr, wrth i Grist wneud dim ond edrych arno:

"Y dwfr ger bron ei dirionwawr,
Gwridiai, newidiai ei wawr."

Ond y mae rhai yn barod i ryfeddu i'r Gwaredwr ddefnyddio ei allu gwyrthiol i wneud gwin; ac yn enwedig i wneud cymaint, o hon fel y tybiant, gan fod gwin yn beth mor agored i gael ei gamddefnyddio. Gyda golwg ar hyn, byddai yn burion cofio nad oes unrhyw brawf, yn yr hanes, i'r *holl* ddwfr oedd yn y llestri gael ei droi yn win. Barna Westcott, a rhai awduron eraill, na wnaed dim mwy o win nag oedd ei eisieu at wasanaeth y wledd; ond fod y dwfr â pha un y llanwasid y dyfrlestri, yn parhâu yn ddwfr o hyd yn y llestri, ac mai cymaint ag a ollyngwyd yn unig, yn amser y wledd, a drowyd yn win. Dyma y dyb a ymddengys i mi y debycaf o lawer o fod yn gywir. Ond a chymeryd y golygiad cyffredin, sef i'r

holl ddwfr oedd yn y chwech llestr, gael ei droi yn win, "Nid oedd yma ddim mwy o achlysur yn cael ei roddi i feddwdod, nag y mae helaeth-gyfraniadau rhagluniaeth yn ei roddi o achlysur i wneud cam-ddefnydd o honynt." Onid yw yr Arglwydd yn troi miloedd o alwyni o ddwfr yn win bob blwyddyn, yn araf a graddol, trwy offerynoliaeth y winwydden? Nid oedd dim allan o'i le mewn gwneud llawer o win yn y briodas, os gwnaed llawer, mwy nag sydd mewn peri cynhauaf ffrwythlawn ar y gwinwydd. Y mae yn sicr fod y gwin a wnaeth Crist yn bur fel ffrwyth y winwydden; ac felly, yn dra gwahanol i winoedd ein gwlad ni, y rhai sydd wedi eu cymysgu a'u llygru. Dylid cofio hefyd fod llawer o gyfoeth yn agored i gael ei gamddefnyddio, gystal â llawer o win; mewn gair gellir camddefnyddio holl roddion daionus rhagluniaeth. Ond lle byddo yr Iesu yn bresenol, fel yr ydoedd yn y briodas yma, nid oes unrhyw berygl i'w roddion gael eu camddefnyddio. Ystyriaeth wastadol ein bod yn ei bresenoldeb ef, a bod ei lygad ef yn craffu arnom bob amser, yw y moddion mwyaf effeithiol i'n cadw o fewn terfynau cymedroldeb a gweddeidd-dra.

Yr oedd y gwin a wnaeth yr Iesu yn well na'r un oedd yn y briodas o'r blaen: "*A phan brofodd llywodraethwr y wledd y dwfr a wnaethid yn win; efe a alwodd ar y priod-fab, ac a ddywedodd wrtho, Pob dyn a esyd y gwin da yn gyntaf, ac wedi iddynt yfed yn dda, yna un a fo gwaeth; tithau a gedwaist y gwin da hyd yr awrhon.*" Unig amcan llywodraethwr y wledd, wrth lefaru y geiriau hyn, oedd canmol y priodfab am ymddwyn yn wahanol i arfer gyffredin gwleddoedd. Ond y mae ei eiriau, yn ddiarwybod iddo ef ei hun, yn gosod allan yn gywir a tharawiadol, y gwahaniaeth sydd rhwng trefn y byd a threfn Crist o roddi. "Nid fel y mae y byd yn rhoddi yr wyf fi yn rhoddi i chwi," meddai Crist. (Ioan xiv; 27.) Trefn y byd yw rhoddi ei bethau goreu yn gyntaf; ei bleserau a'i fwyniant i ddechreu, yna euogrwydd a thrueni i ddilyn. Ond trefn Crist yw cadw y pethau goreu yn olaf. Mae duwiolion yn cael llawer o bethau

da yn y byd yma; ond yn y nef y cant y pethau goreu. Er cystal yw y "gloyw win puredig," sydd yn y wledd ar fynydd Sïon, yr ochr yma, bydd y "gwin newydd, a yfir gan yr Iesu, gyda'i bobl, yn nheyrnas ei Dad," ac yn "swper neithior yr Oen," yn "llawer iawn gwell."

"*Hyn o ddechreu gwyrthiau a wnaeth yr Iesu yn Cana Galilea, ac a eglurodd ei ogoniant; a'i ddysgyblion a gredasant ynddo.*" Yr oeddynt yn credu ynddo o'r blaen; ond bu yr amlygiad hwn o'i ogoniant yn foddion i gryfhâu eu ffydd. Gwnaed gwyrthiau lawer, a gwyrthiau mawrion, trwy ddwylaw y proffwydi a'r apostolion; ond ni ddywedir byth fod eu gwyrthiau hwynt yn egluro eu gogoniant hwy eu hunain; canys nid yn eu henwau, na thrwy eu gallu eu hunain, y cyflawnent eu gwyrthiau. Nid rhoddi benthyg ei allu dwyfol ei hun iddynt ychwaith yr oedd Duw, onide buasent ar y pryd yn dduwiau, ac yn wrthddrychau addoliad, ond eu defnyddio fel offerynau yn ei law ei hun yr ydoedd. Efe mewn gwirionedd, ac nid hwynthwy, oedd yn gwneud y gwyrthiau. Nid rhoddi gallu goruwchnaturiol iddynt hwy yr ydoedd; ond gweithredu ei hunan yn oruwchnaturiol mewn cysylltiad â hwynt, a'r oll oedd gan y proffwyd a'r apostol i'w wneud, pan y byddai gwyrth yn cael ei chyflawni trwyddynt, oedd naill ai gweddio am i Dduw gyfryngu mewn modd gwyrthiol, neu ynte roddi rhyw arwydd ei fod yn myned i wneuthur hyny.* Felly gogoniant Duw, ac nid unrhyw ogoniant perthynol iddynt hwy eu hunain, oedd yn cael ei egluro trwy eu gwyrthiau hwynt. Ond egluro "*ei* ogoniant," fel y dywedir yma, yr oedd Crist trwy ei wyrthiau; canys yr oedd efe yn cyflawni ei holl wyrthiau yn ei enw, a thrwy ei allu dwyfol ei hun. Yr oedd ei wyrthiau fel ffenestri dysglaer, ar "deml ei gorff," trwy ba rai yr oedd y gogoniant dwyfol a breswyliai ynddo yn llewyrchu allan i olwg ei ddysgyblion. Neu fel y mae y diweddar a'r enwog Fredrick Robertson yn egluro y mater, yn brydferth a tharawiadol, trwy ddweyd fod

* Gwel "*Wardlaw on the Miracles.*"

gwyrthiau yr Arglwydd Iesu yn gyffelyb i fflachiad y fellten. Mae y trydan sydd yn cyfansoddi y mellt yn wasgaredig yn barhaus trwy holl deyrnas natur i gyd, ac felly nid yw gwaith y fellten fyw yn fflamio gyda'r fath gyflymdra a dysgleirder, nes llenwi dyn ac anifail ag arswyd a dychryn, yn gwneud dim ond datguddio gweithredydd nerthol sydd o'n hamgylch yn wastadol, ond ei fod yn anweledig. Felly hefyd yr oedd "holl gyflawnder y Duwdod yn preswylio yn gorfforol yn Nghrist" yn barhaus, ond ei wyrthiau oedd yn "*egluro* ei ogoniant," nes yr oedd ei ddysgyblion yn gallu dweyd, "Y Gair a wnaethpwyd yn gnawd; ac a drigodd yn ein plith ni, ac ni a welsom ei ogoniant ef, gogoniant megys yr Unig-anedig oddiwrth y Tad, yn llawn gras a gwirionedd." (Ioan i. 14.)

Yr oedd y wyrth gyntaf hon yn arwyddo yn amlwg ei fod "yn llawn gras." Troi dyfroedd peraidd y Nilus yn *waed*, oedd y wyrth gyntaf a wnaeth Moses (Exod. vii. 20); oblegyd cynnrychiolydd deddf oedd Moses, ac y mae "y ddeddf yn peri digofaint," a'i goruchwyliaeth hi yn "weinidogaeth angeu," i droseddwyr. (2 Cor. iii. 7.) Ond troi dwfr yn *win* oedd gwyrth gyntaf Crist; oblegyd gweinyddwr maddeuant a chysur, ac awdwr llawenydd yw efe. Amcan ei ddyfodiad ef oedd gwneud i'r holl bobloedd yn mynydd Sïon "wledd o basgedigion breision, a gloyw win puredig." Ac y mae yn gwahodd pechaduriaid yn yr efengyl i ddyfod ato a phrynu ganddo "*win a llaeth*, heb arian ac heb werth."

Yr ydym yn y wyrth hon yn gweled caredigrwydd a chymwynasgarwch yr Iesu, mor amlwg â'i allu dwyfol. Pe buasai y teulu bychan yma yn Cana, heb fwyd yn y tŷ, na modd i'w gael, ni buasem yn synu i angen felly gynhyrfu tosturi y Gwaredwr, a pheri iddo ddefnyddio ei allu gwyrthiol i ddiwallu eu heisieu. Ond pwy a feddyliasai y buasai yn werth ganddo wneud gwyrth, er mwyn peth mor fychan â rhoddi digon o win iddynt, i gario yn mlaen eu gwledd briodasol, yn ddibrofedigaeth? Ond gwyddai yr Iesu y gwnaethai darfyddiad y gwin, ar ganol y wledd, eu gosod yn

agored i ddirmyg a gwawd eu cymydogion; a chwerwi eu hapusrwydd wrth adgofio dydd eu priodas, ac yr oedd cymaint o dynerwch a chydymdeimlad, yn ei galon rasol ef, fel y gwnaeth wyrth, er mwyn dyogelu eu cysur mewn peth mor fychan â hyn. Ni fynai i ddim leihâu eu llawenydd a'u hapusrwydd ar ddydd eu priodas. Dengys hyn nad oes unrhyw brofedigaeth nac angen islaw ei sylw ef. Beth bynag fyddo yn ein blino awn ato yn hyderus i ddweyd ein cwyn. "Ni a allwn gyferbynu," medd Tench, y "parodrwydd hwn o'i eiddo i gynnorthwyo eraill, gyda'r manylder a ddangosid ganddo i wrthod gwneuthur ymwared iddo ei hunan yn ei anghenion dyfnaf. Efe yr hwn a wnaeth y dwfr yn win a allasai hefyd wneud y cerig yn fara; ond tra yr arlwyai fwrdd i eraill boddlonodd i ddyoddef newyn a syched ei hunan."

Arwydda y wyrth yn mhellach, na bydd neb ar eu colled wrth fod yn garedig i Grist a'i achos. Cafodd y teulu bychan yma ad-daliad helaeth am wahodd yr Iesu a'i ddysgyblion i'r briodas. "Y mae y wyrth hon," medd Westcott, "yn ein hysbysu am Un sydd yn rhoddi pan y mae yn derbyn; ac yn bendithio pan y mae yn cael ei groesawu."

Yr oedd y wyrth hon hefyd yn gysgod o holl waith Crist. Wrth droi y dwfr yn win awgrymai ei fod wedi dyfod i'r byd i gyfnewid pethau, a'u gwneud yn well nag ydynt wrth natur. Mae efe yn cyfnewid ac yn gwella pobpeth a gyffyrddir ganddo—mae yn gwneud yr anianol yn ysbrydol, y daearol yn nefol, a hen bechaduriaid truenus yn angelion a seraffiaid dysglaer a dedwydd. Mae yn troi dyfroedd edifeirwch yn win tangnefedd a chysur; ac yn y nef fe dry ddyfroedd tristwch a galar yn win llawenydd a gorfoledd tragywyddol, i'r "rhai a elwir i swper neithior yr Oen."

"Pryd hyn pereiddia Duw ar g'oedd,
Holl chwerwon ddyfroedd Marah;
Pryd hyn y try pob chwerw nant
Yn win i blant Jehofah."

## II.

## IACHAU MAB Y PENDEFIG.

"*Ac yr oedd rhyw bendefig yr hwn yr oedd ei fab yn glaf yn Capernaum,*" *&c.* IOAN iv. 46—54.

MAE y bennod hon yn cynwys hanes dyddorol iawn am y gwaith mawr a wnaeth yr Iesu yn Samaria, wrth ddychwelyd o Judea i Galilea, ar ol bod yn Jerusalem yn ngwyl y pasc, y tro cyntaf wedi iddo ddechreu ar ei weinidogaeth gyhoeddus. Wedi treulio deuddydd yn Sichar ar gais y Samariaid, efe a aeth rhagddo i Cana yn Galilea. Aeth i Cana yn hytrach nag i Nazareth, lle y magesid ef, am nad oedd fawr o obaith iddo gael y derbyniad a'r parch priodol, nac i'w weinidogaeth fod yn llwyddianus yn Nazareth; "canys yr Iesu ei hun a dystiolaethodd, nad ydyw proffwyd yn cael anrhydedd yn ei wlad ei hun." (Adn. 43—46.) Dygwyddodd ar y pryd fod mab i ryw pendefig yn Capernaum yn glaf, yn mron marw. Ymddengys fod y gair pendefig yma yn arwyddo *gŵr brenhinol*, a gelwir hwn felly, mae yn debyg, am ei fod yn swyddog yn llys Herod. Mae yn dra thebygol mai Chusa, goruchwyliwr Herod ydoedd, ac mai y wyrth hon fu yn foddion troedigaeth Joanna, gwraig Chusa, yr hon a enwir yn mhlith y gwragedd sanctaidd a charedig oedd yn gweini i'r Iesu, o'r pethau oedd ganddynt. (Luc viii. 3.) Ond pwy bynag oedd y pendefig hwn, y mae yn eglur ei fod naill ai wedi gweled rhai o wyrthiau Crist, yn Jerusalem ar yr wyl, neu ynte, ei fod wedi clywed llawer o son am dano. Pan oedd ei fab yn mron marw, clywodd fod yr Iesu yn Cana, ac er ei fod yn ŵr mawr, a bod tuag ugain milltir o ffordd o Capernaum i Cana, eto yn lle anfon un o'i weision drosto at yr Iesu, y mae yn myned ato ei hunan, ac yn dymuno yn daer a gostyngedig arno fyned adref gydag ef i Capernaum yn ddioed,

i iachâu ei fab. Ond yn lle dangos ei dosturi a'i gydymdeimlad arferol tuag at rai mewn trallod a chyfyngder, "*yr Iesu a ddywedodd wrtho, Oni welwch chwi arwyddion a rhyfeddodau ni chredwch.*" Dichon fod y pendefig hwn wedi dweyd, fel Thomas, wrth glywed son am weithredoedd nerthol Crist, na chredai efe byth mo'r pethau oedd yn cael eu dywedyd wrtho, heb iddo gael eu gweled â'i lygaid ei hun. Yr oedd yr Iesu yn gweled ynddo hefyd ddarlun o'r Iuddewon yn gyffredinol, yn eu gorawydd am weled gwyrthiau. Yr oedd y gogoniant dwyfol oedd yn ymddysgleirio yn ei athrawiaeth wedi enill llawer o'r Samariaid i gredu ynddo, y dyddiau o'r blaen, heb weled na cheisio yr un wyrth; a "bendigedig yw y rhai ni welsant ac a gredasant." Ond yr oedd "yr Iuddewon yn gofyn arwydd" (1 Cor. i. 22.) yn barhaus, a hyny yn benaf er mwyn boddloni eu cywreinrwydd, a'u hawydd am weled pethau rhyfedd. Ni ddywedodd y pendefig ddim mewn atebiad i'r cerydd tyner a roddodd yr Iesu iddo am ei anghrediniaeth; ond yn lle tramgwyddo, nac anobeithio, parhâodd i ymbil yn daerach, gan ddywedyd, "*O Arglwydd tyred i waered cyn marw fy machgen.*" Mae yn hanes y wyrth hon dri pheth teilwng o'n sylw, sef gweddi y pendefig—atebiad yr Iesu—ac effeithiau y wyrth.

I. Gweddi y Pendefig:—"O Arglwydd tyred i waered cyn marw fy machgen."

1. *Gweddi mewn cyfyngder a thrallod ydoedd.* Er fod hwn yn bendefig urddasol, yr ydoedd mewn profedigaeth chwerw. Nis gall anrhydedd, awdurdod, na chyfoeth gadw cystudd, a gofid, ac angeu draw, a diogelu hapusrwydd. Y mae profedigaethau yn myned i balas y pendefig yr un modd ag i fwthyn y tlawd. Ond bu yn dda i hwn gael ei gystuddio; oblegyd hyny fu yn foddion i'w ddwyn at yr Iesu; ac y mae profedigaethau wedi bod yn foddion i arwain llawer un ar ei ol at y Gwaredwr. Buasai yn llawer mwy o rinwedd yn y pendefig yma fyned at Grist, i eistedd wrth ei draed, a gwrando ei nefol ddysgeidiaeth, pan oedd pawb

o'i deulu yn iach, na myned ato yn awr yn achos ei fab, oedd yn mron marw. Ond ni wrthododd Crist ef, er mai wedi cael ei yru ato gan gyfyngder a thrallod yr ydoedd:—" Galw arnaf fi yn nydd trallod," &c. (Salm l. 15.)

2. *Gweddi tad dros ei blentyn ydoedd.* Nid myned at Grist i geisio iechydwriaeth i'w enaid ei hun yr oedd y pendefig, ond myned ato i geisio iachâd corfforol i'w fachgen. Gyda pha faint mwy o daerni y dylai rhïeni fyned at Grist yn achos eneidiau eu plant, ac i geisio iechydwriaeth dragywyddol iddynt?

3. *Gweddi yn dangos ffydd yn ngallu Crist ydoedd.* Dïau fod meddygon goreu dinas Capernaum wedi eu galw at fab y pendefig, ac wedi ei roddi i fynu. Ond yr oedd y pendefig yn credu, oddiwrth yr hyn a glywsai am weithredoedd nerthol Crist, ei fod ef yn abl i iachâu ei fab, wedi i feddygon enwocaf y wlad fethu. Ei ffydd yn ngallu Crist a barodd iddo fyned mor bell i chwilio am dano. Mae yn gysur i ninau gofio fod yr Arglwydd Iesu yn abl "i gwbl iachâu y rhai trwyddo ef sydd yn dyfod at Dduw." (Heb. vii. 25.)

4. *Gweddi yn dangos fod ffydd y pendefig yn wan, a'i syniadau am Grist yn llawer rhy isel, ydoedd.* Mae gwendid ei ffydd i'w weled yn ei waith yn meddwl fod yn angenrheidiol i Grist fyned at y claf, a chyffwrdd âg ef, neu ddodi ei ddwylaw arno, cyn y gallasai ei iachâu. Yr oedd ei ffydd yn mhell o ddyfod i fynu â geiriau y Salmydd: "*Anfonodd ei air*, ac iachâodd hwynt." (Salm cvii. 20.) Mor wan oedd ei ffydd mewn cymhariaeth i ffydd y canwriad, yr hwn a ddywedai wrth Grist, "Arglwydd, nid ydwyf fi deilwng i ddyfod o honot dan fy nghronglwyd: *eithr yn unig dywed y gair a'm gwas a iachëir.*" (Math. viii. 8.) Ond ni ddychymygodd y pendefig y medrai Crist iachâu ei blentyn heb ddyfod yn agos ato; a llawer llai y meddyliodd fod gan Grist allu i'w gyfodi o farw yn fyw; er y gwyddai fod Elias ac Eliseus wedi gwneud peth felly. Credai y medrai Crist iachâu y claf, ond bod yn ei ymyl, ac am hyny, y mae yn dweyd, "O

Arglwydd, *tyred i waered"*; ond gan na freuddwydiodd fod gan Grist allu i godi y marw, y mae yn dymuno arno wneud brys, rhag y byddai yn rhy ddiweddar, gan ddywedyd, "O Arglwydd, tyred i waered *cyn marw* fy machgen." Fel hyn y mae, trwy wendid ei ffydd, "yn gosod terfyn i Sanct yr Israel."

II. Atebiad yr Iesu:—"Iesu a ddywedodd wrtho ef, Dos ymaith, y mae dy fab yn fyw," neu yn *iach*.

1. *Mae yr atebiad yn dangos nad yw Crist yn diystyru gweddi y gwanaf ei ffydd.* Er fod ffydd hwn yn wan, a'i syniadau am Grist yn isel a chyfeiliornus, eto y mae yr Iesu, yn ei anfeidrol dosturi a'i raslonrwydd, yn gwrando ei weddi, ac yn iachâu ei fab. Na fydded i ninau ddigaloni a sefyll draw, am nad ydym yn meddu ffydd gref, ac yn teimlo yn ddigon dwys. "Corsen ysig ni's tŷr; a llin yn mygu ni's diffydd," &c. (Math. xii. 20.) Pan oedd yr afradlon, "*eto yn mhell* oddiwrtho, ei dad a'i canfu ef, ac a dosturiodd," &c. (Luc xv. 20.)

2. *Mae yr atebiad yn dysgu i ni fod gan yr Arglwydd ei ffordd ei hun i ateb gweddi.* Iachâodd y Gwaredwr fab y pendefig, yn ol ei ddymuniad, ond nid trwy fyned gydag ef i Capernaum, fel yr oedd efe yn ceisio. Pan ofynodd y canwriad i'r Iesu iachâu ei was, trwy ddweyd y gair yn unig, cynygiodd yr Iesu fyned i'w dŷ; ond pan geisiodd y pendefig ganddo fyned i'w dŷ, y mae yn lle hyny *yn dweyd y gair yn unig.* Anrhydeddu ffydd gref y canwriad oedd ei ddyben wrth gynyg myned i'w dŷ; a chryfhâu ffydd wan y pendefig oedd ei ddyben wrth naeâu myned i'w dŷ, trwy ei argyhoeddi nad oedd ei bresenoldeb corfforol yn angenrheidiol, er gallu gweithredu a dylanwadu ar y bachgen. Mae yr Arglwydd yn fynych eto yn ateb gweddiau ei bobl yn wahanol i'r modd y byddant hwy yn gofyn. Mae y cystuddiedig yn gofyn esmwythder, yntau yn rhoddi amynedd, &c. (Rhuf. viii. 26.)

3. *Mae yr atebiad yn dangos Duwdod Crist.* Yr oedd medru llwyr iachâu y claf, oedd yn mron marw, heb fyned yn agos

ato, na defnyddio unrhyw foddion, dim ond yn unig ewyllysio hyny, yn amlygiad o Hollalluowgrwydd Crist; ac yr oedd medru hysbysu y tad yr un fynyd am yr iachâd, yn brawf eglur o'i Hollwybodaeth. Yr oedd hyn yn ernes a gwystl i'r dysgyblion y gallai yr Iesu eu cynnorthwyo, er myned ymaith oddi wrthynt i'r nef. Gall ddanfon bendith o'r nefoedd i'r ddaear, mor hawdd â danfon iachâd i fab y pendefig o Cana i Capernaum.

III. Effeithiau y Wyrth.

1. *Ar y bachgen.* Dywed y Salmydd fod yr Arglwydd "yn anfon ei orchymyn ar y ddaear, *a'i air a red yn dra buan.*" (Salm xlvii. 15.) Felly y bu yn yr amgylchiad hwn: ymsaethodd y feddyginiaeth ar air Crist, yn gyflymach nâ'r fellten, o Cana i Capernaum; a thra yr oedd mam y bachgen, a'r teulu, yn sefyll wrth y gwely, mewn prudd-der a galar, i ddysgwyl iddo dynu yr anadl ddiweddaf, wele y clefyd, er dirfawr syndod a llawenydd iddynt oll, yn ei adael yn llwyr ar unwaith, a'r bachgen yn dyfod ar darawiad amrant yn berffaith iach. Rhyw gyfarfyddiad rhyfedd oedd cyfarfyddiad y bachgen hwn â'r Iesu, y tro cyntaf ar ol hyn.

2. *Ar y tad;*—"A'r gŵr a gredodd y gair a ddywedasai yr Iesu wrtho," a gwnaeth hyny heb gael na cheisio yr un arwydd; ac aeth i'w ffordd ei hun yn llawen. Cymerodd hyn le tuag un o'r gloch prydnawn, fel y gwelir oddiwrth adn. 53; ac felly gallasai y pendefig gyrhaedd adref y noswaith hono, pe buasai yn dewis. Ond gan iddo gredu y gair a ddywedasai yr Iesu, yr oedd ei feddwl yn berffaith dawel yn nghylch ei fab; ac efe a aeth tuag adref yn hamddenol, gan letya yn rhywle ar y ffordd y noswaith hono. Ni a welwn yn ei hanes, gan hyny, gyflawniad tarawiadol o eiriau y proffwyd, "Ni *frysia* yr hwn a gredo." (Es. xxviii. 16.) Gwnaeth Crist *ddwy* wyrth yn yr amgylchiad yma âg *un gair*—y naill ar gorff y bachgen, oedd yn absenol, a'r llall ar galon y tad oedd yn bresenol; iachâodd y naill oddiwrth ei glefyd, a'r llall oddiwrth ei anghrediniaeth.

Pan oedd y pendefig yn dychwelyd tuag adref, mewn hyder yn ngair Crist, ac mewn ufudd-dod i'w orchymyn, cyfarfu ei weision âg ef ar y ffordd, yn dwyn y newydd cysurus iddo am lwyr wellhâd ei fachgen; a bu hyny drachefn yn foddion i gryfhâu llawer ar ei ffydd. Credai cyn cychwyn oddi cartref fod Crist yn broffwyd mawr, ond credai yn awr mai efe oedd y Messiah addawedig. Yr oedd ganddo bellach ffydd gadwedigol. Ac y mae hanes y newydd da a dderbyniodd ar y ffordd, yn dysgu mai ar lwybr ffydd ac ufudd-dod y mae sicrwydd a chysur i'w cael.

3. *Ar y teulu:*—"Ac efe a gredodd, *a'i holl dŷ.*" Pan gyrhaeddodd y tad adref, pwy oedd y cyntaf a redai i'r drws yn siriol i'w groesawu, ond ei fachgen, a adawsai y dydd o'r blaen "yn mron marw." Mor llawen a diolchgar y teimlai y pendefig wrth weled ei blentyn wedi ei achub o safn angeu! Bu yno yn ddïau gyfeillach ddedwydd a dyddorol ar yr aelwyd y noswaith hono—y bachgen a'r teulu yn holi yn awyddus yn nghylch yr Iesu, a'r pendefig yn dweyd pa fath un ydoedd, ac yn adrodd ei hanes. A'r canlyniad dedwydd fu i'r holl deulu gael eu henill i gredu ynddo. Golygfa brydferth oedd gweled teulu cyfoethog ac urddasol fel hyn, yn deulu duwiol. O! na welid mwy o deuluoedd cyffelyb. Cofiwn mai amcan hanes y gwyrthiau yw ein cael ninau i feddu yr un gyffelyb werthfawr ffydd â'r teulu hwn:—"Y pethau hyn a ysgrifenwyd, fel y credoch chwi mai yr Iesu yw Crist Mab Duw, a chan gredu y caffoch fywyd yn ei enw ef." (Ioan xx. 31.)

## III.

## YR HELFA O BYSGOD.

"*A phan beidiodd a llefaru, efe a ddywedodd wrth Simon, Gwthia i'r dwfn, a bwriwch eich rhwydau am helfa. A Simon a atebodd ac a ddywedodd wrtho, O Feistr er i ni boeni ar hyd y nos, ni ddaliasom ni ddim : eto ar dy air di mi a fwriaf y rhwyd,*" &c.

LUC v. 4—11.

CYFLAWNWYD y wyrth hon mewn cysylltiad â galwad pedwar o ddysgyblion Crist i bregethu yr efengyl, sef Simon Pedr, ac Andreas ei frawd, a Iago ac Ioan, meibion Zebedëus. Ymddengys mai at yr *un* alwad y cyfeiria Mathew a Marc, yn Math. iv. 18—22; a Marc i. 16—20, er fod rhai yn amheu hyny; ond Luc yn unig sydd yn rhoddi hanes y wyrth a wnaed ar yr achlysur. Wrth gymharu yr hyn a ddywedir yn Ioan i. 40—42, gwelir yn amlwg fod Andreas a Phedr, a Ioan hefyd, fel y mae yn fwyaf tebygol (adn. 35—37), wedi eu galw cyn hyn, ar làn yr Iorddonen, i fod yn ddysgyblion i Grist. Buont yn ei ddilyn am ychydig amser y pryd hwnw, ar ei daith trwy Galilea; canys yr oeddynt gydag ef yn y briodas yn Cana. Ond nid oeddynt eto wedi eu galw i adàel eu gorchwylion yn hollol, ac i'w ddilyn yn barhaus; ac felly dychwelasant adref drachefn at eu teuluoedd a'u galwedigaeth. Ond yma, yn mhen rhai misoedd, y maent yn cael eu galw eilwaith, nid yn *hollol i'r swydd apostolaidd* ychwaith, fel y dywed rhai, canys *ar ol hyn* yr ordeiniwyd hwynt yn apostolion (Luc vi. 13.); ond eu galw i adael pob peth, a dilyn Crist yn *wastadol.* Fel yr oedd efe un bore yn rhodio wrtho ei hunan, ar y traeth gyda glàn môr Galilea, gerllaw dinas Capernaum, "*efe a welai ddwy long fechan yn sefyll wrth y llyn ; a'r pysgodwyr a aethent allan o honynt, ac yr oeddynt yn golchi eu rhwydau,*" cyn cychwyn adref, fel y byddent yn barod erbyn

y nos ganlynol. Gwelwyd ac adnabyddwyd yr Iesu yn fuan, a dechreuodd y bobl ymgasglu ato yn dorfëydd lliosog, mewn awydd ei glywed yn pregethu gair Duw. Y fath ragolwg obeithiol ac addawol oedd yma am gynhauaf toreithiog o lwyddiant ar yr efengyl! Ond y mae yn ofnus mai gwywo a wnaeth y rhan fwyaf o'r egin prydferth hyn cyn dyfod yn dywysenau aeddfed. Gan fod y bobl yn pwyso arno, yn eu hawydd i'w glywed, nes ei gwneud yn anfanteisiol iddo i lefaru wrthynt ar y traeth, y mae yn gwneud un o'r llongau oedd gerllaw yn bwlpud i bregethu i'r torfëydd a safent ar y làn: "*Ac efe a aeth i mewn i un o'r llongau, yr hon oedd eiddo Simon, ac a ddymunodd arno wthio ychydig oddiwrth y tir. Ac efe a eisteddodd, ac a ddysgodd y bobloedd allan o'r llong.*" Gan mai diwrnod gwaith ydoedd, a'i fod yn bwriadu egluro ei ogoniant trwy wneud gwyrth, y mae yn dweyd wrth Simon, ar ol i'r oedfa fyned drosodd, "*Gwthia i'r dwfn, a bwriwch eich rhwydau am helfa.*" Gallasai Crist beri i'r pysgod adael y môr, a dyfod i'r traeth o honynt eu hunain, neu neidio i fynu o'r dwfr i'r llong, at y pysgodwyr, pe buasai yn ewyllysio; ond ni byddai efe byth yn gwastraffu ei allu gwyrthiol i arbed yr hyn a allai dynion ei wneud; ac am hyny, y mae yn gorchymyn i Simon wthio i'r dwfn, &c. "*A Simon a atebodd ac a ddywedodd wrtho, O Feistr, er i ni boeni ar hyd y nos, ni ddaliasom ni ddim: eto ar dy air di mi a fwriaf y rhwyd.*" Mae amryw bethau canmoladwy, a theilwng o efelychiad, yn UFUDD-DOD Simon. 1. *Ufudd-dod yn ngwyneb aflwyddiant ac annhebygolrwydd ydoedd.* Y nos yw yr amser goreu i bysgota, a chan fod Simon wedi poeni ar hyd y nos, heb ddal dim, yr oedd hi yn ymddangos yn ddigon digalon, ac anobeithiol, i ail ddechreu pysgota ganol dydd dranoeth. Y mae llawer eto yn fynych, o'r rhai mwyaf diwyd a medrus gyda'u gorchwylion a'u galwedigaethau tymhorol, yn aflwyddianus. Nid bob amser y mae "y rhedfa yn eiddo y cyflym, na'r rhyfel yn eiddo y cedyrn." (Preg. ix. 11.) Yr un modd hefyd gyda phethau crefyddol. Y mae llawer un o

weision Duw, ar ol bod "yn ymboeni yn y gair a'r athrawiaeth," yn gorfod cwyno, gan ddywedyd, "Yn ofer y llafuriais, &c." (Es. xlix. 4.) Cyffelyb hefyd, yn aml, yw profiad rhïeni crefyddol gyda golwg ar eu plant, &c. Ond yn lle anobeithio a rhoddi i fynu, yn ngwyneb aflwyddiant, bydded i ni ddilyn esiampl Simon Pedr, trwy fwrw y rhwyd drachefn. "Yn gwneuthur daioni na ddïogwn; canys yn ei iawn bryd y medwn oni ddiffygiwn." (Gal. vi. 9.) 2. *Ufudd-dod i'r iawn reol ydoedd:* "ar dy *air di* mi a fwriaf y rhwyd." Pe gwrandawsai Pedr ar lais ei deimlad, buasai yn myned adref, ac i'w wely i orphwys, yn hytrach na myned allan drachefn i'r môr i bysgota. Buasai ei reswm yn dweyd wrtho hefyd, nad oedd fawr o obaith dal yn y dydd, ar ol methu yn y nos. Ond yn lle gwrando ar ei deimlad, na'i reswm ei hun, efe a ufuddhaodd i orchymyn Crist, yn ddioed, heb betruso na gwrthddadleu. "Yn y fan nid ymgynghorodd â chig a gwaed." Gair Crist, ac nid ein barn, na'n teimladau ein hunain, sydd i fod yn rheol i ninau. Dyna a ddylai fod ein cwestiwn yn wastad, "Arglwydd, beth a fyni *di* i mi ei wneuthur?" (Act ix. 6.) 3. *Ufudd-dod ffyddiog a hyderus ydoedd.* Nid bwrw y rhwyd yn unig i foddloni ei Arglwydd, ac i'w argyhoeddi nad oedd o un dyben trafferthu ychwaneg, y tro hwnw, i geisio dal, yr oedd Pedr. Na, yr oedd yr hyn a wyddai eisoes am Grist, yn peri iddo gredu y llwyddai wrth fwrw y rhwyd, ar ei orchymyn ef, er mor annhebygol oedd hyny. Nid â dim a wnawn ninau, mewn ufudd-dod i orchymyn Crist, yn ofer. "Am hyny, fy mrodyr anwyl, byddwch sicr a diymod, a helaethion yn ngwaith yr Arglwydd yn wastadol, a chwi yn gwybod nad a eich llafur chwi yn ofer yn yr Arglwydd." (1 Cor. xv. 58.)

Gwobrwywyd ufudd-dod Simon â llwyddiant gwyrthiol; canys wedi iddynt fwrw y rhwyd, "*hwy a ddaliasant lïaws mawr o bysgod; a'u rhwyd hwynt a rwygodd*, h. y., a ddechreuodd rwygo. Mae Trench yn sylwi, yn dra phriodol, nad yw helfa fawr o bysgod, ynddi ei hun, yn wyrth; ond yr oedd y cydgyfarfyddiad rhwng yr helfa â'r gair oedd Crist

newydd lefaru, yn profi yn eglur fod yma wyrth. Ac yr oedd i'r wyrth hon amryw ddybenion pwysig, megys 1. *Dangos llywodraeth a gallu Crist.* Nid ydym i feddwl i'r pysgod yma gael eu creu gan Grist y pryd hwn, er mai gwaith hawdd iddo ef fuasai gwneud hyny, pe yn angenrheidiol. Ond yr oedd y wyrth yn gynwysedig, yn ngwaith Crist, trwy ei allu dwyfol, yn casglu y fath helfa fawr o bysgod yn nghyd i'r lle hwnw, yr adeg hono. Collodd dyn, trwy bechod, y llywodraeth a roddodd y Creawdwr iddo, ar y creaduriaid direswm, ac nid oes unrhyw ddosparth o greaduriaid y mae gan ddyn lai o lywodraeth arnynt na physgod y môr. Ond yn "yr ail ddyn, yr Arglwydd o'r nef," ni a welwn eiriau y Salmydd yn cael eu cyflwani i'r llythyren: "Gwnaethost iddo arglwyddiaethu ar weithredoedd dy ddwylaw; gosodaist bob peth dan ei draed ef . . . . Ehediaid y nefoedd, *a physgod y môr, ac y sydd yn tramwyo llwybrau y moroedd.*" (Salm viii. 6, 8.) Ac y mae meddwl fod pob elfen a chreadur o dan lywodraeth y Cyfryngwr yn ddefnydd cysur i'w bobl, a dychryn i'w elynion. 2. *Rhoddi rhagbrawf i'r apostolion o'r llwyddiant fyddai ar eu gweinidogaeth.* Yr oedd yr helfa bysgod yma yn arwydd a chysgod o'r miloedd eneidiau, oeddynt i gael eu dal gan Pedr, yn rhwyd yr efengyl, ar ddydd y Pentecost. (Act. ii. 41.) Arwyddid iddynt yma, er eu calondid a'u cysur, y medrai Crist wneud u gweinidogaeth yn llwyddianus, hyd yn nod yn yr amgylchiadau mwyaf annhebygol. Mae Crist, gan hyny, yn y wyrth hon yn ymddangos fel *awdwr llwyddiant.* Yr oedd holl 'afur Pedr a'i gyfeillion, er eu bod yn bysgodwyr medrus, wedi bod yn hollol aflwyddianus nes y daeth yr Iesu atynt. Mae o bwys i ninau gofio geiriau y Salmydd, "Os yr Arglwydd nid adeilada y tŷ, ofer y llafuria ei adeiladwyr wrtho, &c." (Salm cxxvii. 1, 2.) Hebddo ef, nis gallwn wneuthur *dim;* ond trwyddo ef gallwn wneuthur *llawer,* fel y pregethwyr hyny yn Antiochia gynt, y dywedir am danynt, "A llaw yr Arglwydd oedd gyda hwynt: a nifer mawr a gredodd, ac a drodd at yr Arglwydd." (Act. xi. 21.)

Gwnaeth yr amlygiad hwn o ogoniant Crist argraff ddwys a brawychus ar feddwl Simon: "*A Simon Pedr, pan welodd hyny, a syrthiodd wrth liniau yr Iesu, gan ddywedyd, Dos ymaith oddiwrthyf; canys dyn pechadurus wyf fi, O Arglwydd. Oblegid braw a ddaethai arno ef, &c.*" Yn ngoleu gogoniant Duw y gwelwn ein pechadurusrwydd ein hunain. Yr oedd Pedr druan wedi ei lenwi â'r fath syndod a dychryn fel yr ydoedd yn llefaru yma, yr un modd ag ar fynydd y gweddnewidiad, "heb wybod beth yr oedd yn ei ddywedyd." Mor afresymol oedd i "ddyn pechadurus," a dyn argyhoeddedig o'i bechadurusrwydd, geisio gan yr hwn sydd "yn gwared ei bobl oddiwrth eu pechodau," fyned ymaith oddiwrtho. Yr oedd hyn, fel y sylwa yr esgob Hall, yn debyg fel pe dywedai dyn claf wrth feddyg enwog "Dos ymaith oddi wrthwyf; canys dyn claf wyf fi, O feddyg." Ond gwyddai yr Iesu nad oedd ei bresenoldeb yn faich ar Pedr, a'i fod yn llefaru oddiar deimlad gwahanol iawn i'r annuwiolion, y rhai a ddywedant yn eu hymddygiad "wrth Dduw, Cilia oddi wrthym," &c. (Job xxi. 14.) Ofn oedd ar Pedr druan, y byddai iddo farw, oherwydd gweled Duw (Barn. xiii. 22.); ac na allai sancteiddrwydd anfeidrol Crist, oddef un oedd â chymaint o lygredd a phechod ynddo. Ni ddarfu yr Iesu, gan hyny, ei gymeryd ar ei air, fel y gwnaeth â phobl Gadarenia, pan y ceisiasant ganddo fyned ymaith oddiwrthynt (Math. viii. 34; ix. 1.); ond tawelodd ei ofnau trwy ddweyd wrtho yn dirion, "*Nac ofna.*" A wyt ti, ddarllenydd, yn ocheneidio yn llwythog gan bechod ac euogrwydd? "Nac ofna;" ond anturia yn hyderus at "Oen Duw, yr hwn sydd yn tynu ymaith bechodau y byd." (Ioan i. 29.) Y mae Crist yn tawelu meddwl Simon, yn mhellach, trwy ei hysbysu ei fod ef wedi datguddio ei ogoniant, nid gyda bwriad i wneud unrhyw niwed iddo, ond i'r dyben o'i gymhwyso at waith uwch a mwy anrhydeddus, na'r gwaith oedd ganddo yn bresenol: "*a dywedodd yr Iesu wrth Simon, Nac ofna: o hyn allan y deli ddynion,*" yn lle dal pysgod. Fel y darfu i'r Arglwydd, gymeryd Dafydd ei was,

oddiwrth y gorchwyl o fugeilio defaid, at y gwaith o fugeilio ei bobl Israel (Salm lxxviii. 70—72.), felly y mae yn galw Simon oddiwrth y gwaith o ddal pysgod, i ddal dynion. Mae dynion wrth natur yn crwydro yn ol eu chwantau, mewn cyflwr o dywyllwch a llygredigaeth, ac eto y maent yn eu helfen yn y cyflwr hwnw, "yn gorwedd mewn drygioni," ac "yn yfed anwiredd fel dwfr;" ac ni byddai waeth dysgwyl i bysgod y môr, adael y môr o honynt eu hunain, a dyfod i chwareu yn mhlith y meillion, yn nghanol y dolydd, na dysgwyl i bechaduriaid adael eu pechodau, a dyfod at Dduw o honynt eu hunain. Ond y mae rhwyd yr efengyl yn eu casglu at eu gilydd; yn eu tynu allan o'r byd; yn eu dwyn i mewn i eglwys Dduw; ac at Grist am iechydwriaeth. Ac eto nid eu tynu trwy drais, ac o'u hanfodd, fel y mae y pysgod yn cael eu tynu o'r môr, a wneir ychwaith: "Dy bobl a fyddant ewyllysgar yn nydd dy nerth." Mae dynion i gael eu dal i FYW hefyd, fel y mae y gair a ddefnyddiai Crist yma yn arwyddo, yn debyg fel pe meddylid am bysgod yn cael eu dal i'w gosod mewn pysgodlyn, yn mharc gwr bonheddig, yn lle cael eu dal i'w lladd, fel y gwneir yn gyffredin. Dal dynion, nid i'w dinystrio, ond i'w dwyn i afael BYWYD TRAGYWYDDOL, y mae rhwyd yr efengyl. Y mae yr un gymhariaeth yn cael ei defnyddio yn llyfr y proffwyd Ezeciel wrth ragfynegi llwyddiant yr efengyl: "Ac fe fydd pysgod lawer iawn, oherwydd dyfod y dyfroedd hyn yno," &c. (Ezec. xlvii. 9, 10.)

Bu y wyrth hon, a'r awdurdod oedd yn cyd-fyned â geiriau Crist, yn foddion i enill y pedwar dysgybl i ymgyflwyno yn hollol i'w wasanaeth, ac i aberthu eu holl gysuron tymhorol er ei fwyn: "*Ac wedi iddynt ddwyn y llongau i dir, hwy a adawsant bob peth; ac â'i dilynasant ef.*" Gadawsant eu cartrefi, a'u hardal enedigol; eu galwedigaeth a'u bywioliaeth; eu llongau a'u rhwydau; eu perthynasau a'u cyfeillion anwylaf; a phob peth a feddent yn y byd; a hyny, nid i ddilyn rhyw bendefig urddasol, oedd yn addaw rhyw lawer o fanteison tymhorol iddynt; ond i ddilyn un oedd yn "ddirmygiedig a

diystyraf o'r gwŷr," ac "heb le i roddi ei ben i lawr." Gwir nad oedd ganddynt ryw lawer o bethau i'w gadael; ond gadawsant y *cwbl* oedd ganddynt; a gall y gweithiwr, fel y sylwa Trench, garu ei fwthyn tlawd, gyda chariad mor gryf ag y mae y boneddwr yn caru ei balas gorwych, canys y cariad at y byd sydd yn tynu, ac nid y byd ei hun ; ac felly byddai yn gymaint o hunanymwadiad yn y naill adael ei fwthyn, ag a fyddai yn y llall i adael ei balas. Nid oedd y ffaith nad oedd gan y dysgyblion hyn ond ychydig, mewn cymhariaeth, o feddianau i'w gadael, er mwyn Crist, yn gwneud eu hunanymwadiad hwynt, gan hyny, yn ddim llai. Mae yn ddyledswydd arnom ninau ddilyn eu hesiampl trwy ganlyn Crist, a'i garu yn fwy na phawb a phob peth. A ydyw yn edifar gan y dysgyblion hyn heddyw, eu bod wedi gadael pob peth er mwyn Crist? A fuont ar eu colled trwy hyny? Naddo yn ddiau; canys dyma dystiolaeth Crist ei hun ar y mater: "Yn wir meddaf i chwi, nid oes neb a'r a adawodd dŷ, neu rïeni, neu frodyr, neu wraig, neu blant, er mwyn teyrnas Dduw, a'r nis derbyn lawer cymaint yn y pryd hwn, ac yn y byd a ddaw fywyd tragywyddol." (Luc xviii. 28—30.)

# IV.

## Y DYN CYTHREULIG YN Y SYNAGOG YN CAPERNAUM.

"*Ac yr oedd yn eu synagog hwy ddyn ag ynddo ysbryd aflan; ac efe a lefodd, gan ddywedyd, Och, beth sydd i ni a wnelom â thi, Iesu o Nazareth? a ddaethost ti i'n difetha ni? mi a'th adwaen pwy ydwyt, Sanct Duw. A'r Iesu a'i ceryddodd ef, gan ddywedyd, Taw, a dos allan o hono. Yna wedi i'r ysbryd aflan ei rwygo ef, a gwaeddi â llef uchel, efe a ddaeth allan o hono. Ac fe a aeth ar bawb fraw,*" &c.

MARC i. 23—27; (LUC iv. 33—36.)

Y MAE y seryddwr wrth dremio ar y ffurfafen trwy yr yspïeinddrych *(telescope)*, yn canfod rhyfeddodau aneirif yn yr ëangder glas, ydynt yn anweledig i'r llygad noeth. Y mae y Beibl i'r cristion yr hyn yw yr yspïeinddrych i'r seryddwr—y mae yn datguddio y byd ysbrydol a'i ryfeddodau anweledig, yn eglur o flaen llygad y meddwl. Yn mhlith pethau rhyfedd eraill a welir yn ngoleu yr Ysgrythyrau sanctaidd, yr ydym yn gweled fod yn y greadigaeth lïaws o angelion wedi syrthio o'r cyflwr sanctaidd a dedwydd y crewyd hwynt ynddo, i ryw ddyfnderoedd anfesurol o bechadurusrwydd a thrueni (Judas 6.); a dangosir i ni yn mhellach, fod yr ysbrydion syrthiedig a maleisddrwg hyn, yn cael eu goddef oherwydd rhyw resymau doeth a dirgelaidd, i demtio a phoenydio dynion. Nid yw mewn un modd yn anghredadwy fod yr Arglwydd yn goddef i *ysbrydion* drwg wneud hyn, gan y gwyddom yn dda ei fod yn goddef i *ddynion* drwg wneuthur yr un peth. Yr ydym yn darllen yn yr Efengylau am amryw bersonau, fel y dyn y sonia y testun am dano, yn cael eu meddianu, mewn rhyw fodd arswydus iawn, yn eu cyrff, yn gystal â'u meddyliau, gan gythreuliaid. Y mae yn wir fod llawer, hyd yn nod o'r rhai a addefant ddwyfoldeb y Beibl, yn ceisio dadleu nad oedd y meddiant cythreulig yma yn ddim

ond rhyw afiechyd, neu anhwyldeb naturiol; ac mai gwallgofiaid yn unig oedd y rhai cythreulig, yr ydym yn darllen am danynt. Ond pa fodd y gallasai gwallgofiaid adnabod Crist yn well nâ'r apostolion eu hunain, a dwyn y fath dystiolaeth i'w Fessiaeth; a hyny ar ddechreuad ei weinidogaeth, pan oedd y rhan fwyaf o'i gydwladwyr, oeddynt yn eu hiawn bwyll, heb wybod pwy ydoedd? Nid gwallgofiaid, ond bodau ysbrydol, oedd yn gweddio ar Grist am ganiatad i fyned i'r moch yn Gadarenia; ac nid wrth gystudd, ond wrth ysbryd drwg y dywedodd Crist yn y testun, "Taw, a dos allan o hono." Yr oedd Crist ei hun yn rhoddi ar ddeall yn amlwg mai nid gwallgofiaid, ond dynion yn cael eu meddianu yn wirioneddol gan gythreuliaid, oedd y rhai hyn. Nis gellir gwadu gwir feddiant cythreulig, gan hyny, heb gyhuddo Crist o ddysgu y byd i gredu yr hyn nad oedd yn wirionedd. Y mae anffaeledigrwydd a didwylledd Crist, fel dysgawdwr, yn ein rhwymo i gredu y ffaith, pa faint bynag o "gymylau a thywyllwch" a ddichon fod o amgylch y mater. Y dyb gyffredinol gynt oedd fod yr ysbrydion aflan yn preswylio yn y rhai a feddienid ganddynt rywbeth yn debyg fel y mae yr enaid yn preswylio yn y corff. Ond y mae llawer o dduwinyddion uniawngred yn bresenol yn ymwrthod â'r golygiad hwn, ac yn barnu mai yr oll sydd i'w ddeall wrth fod dynion yn cael eu meddianu gan gythreuliaid yw, fod ysbrydion drwg yn dwyn y cyfryw bersonau o dan eu llywodraeth a'u dylanwad arswydus i'r fath raddau fel y gallent eu trallodi a'u poenydio yn eu cyrff a'u meddyliau, mewn gwahanol ffyrdd a graddau, a pheri iddynt feddwl, llefaru, a gweithredu, mewn modd nas gwnelsent, oni buasai eu bod o dan reolaeth ysbrydion aflan. Y mae yn anhawdd penderfynu yn sier pa un a yw ysbrydion drwg yn meddianu rhai dynion yn yr un ystyr yn bresenol ai nad ydynt. Fe allai i Dduw ganiatâu i gythreuliaid feddianu gwahanol bersonau yn y dull arswydus hwn yn yr oes hono, er mwyn i ddynion gael mantais i weled gelyniaeth a chreulondeb y diafol a'i angelion.

Fe wnai Satan bawb o honom ninau mor druenus â'r ddau ddieflig hyny yn Gadarenia, pe caniateid iddo. Goddefwyd iddo wneud uffern fechan ar y ddaear, o flaen llygaid dynion, yn yr oes hono, er mwyn rhybuddio pawb i adael a gochel llwybrau pechod, rhag iddynt eu harwain i afael y fath boenydwyr malcisus a chreulawn am dragywyddoldeb. Y mae yn debyg i'r ysbrydion aflan gael eu goddef i feddianu dynion yn y dull dychrynllyd hwn hefyd, i'r dyben o roddi achlysur a chyfleusdra i Grist i amlygu amcan ei ddyfodiad i'r byd, trwy ei waith yn bwrw allan gythreuliaid: "i hyn yr ymddangosodd Mab Duw, fel y datodai weithredoedd diafol." (1 Ioan iii. 8.) Yr oedd cyflawni gweithredoedd nerthol a rhyfedd o flaen llygaid dynion yn sicr o wneud argraff ddyfnach ar eu meddyliau, na phe buasid yn dysgu yr un gwirioneddau iddynt trwy eiriau yn unig. Trwy ei waith yn bwrw allan gythreuliaid o gyrff dynion, yr oedd Crist yn dangos, yn y dull mwyaf eglur ac effeithiol, ei fod wedi dyfod i'r byd i ddymchwelyd teyrnas Satan, ac i waredu ei gaethion truenus o feddiant "y cryf arfog."

Ymddengys i'r wyrth a gofnodir yn y testun, gael ei chyflawni y bore Sabboth cyntaf erioed y bu yr Iesu yn pregethu yn Capernaum. Yr oedd ei glod wedi cyrhaedd i'r ddinas o'i flaen, trwy ei waith yn iachâu mab y pendefig. (Ioan iv. 46—54.) Aeth y gair yn fuan trwy y dref ei fod wedi dyfod yno; a phan ddaeth y Sabboth, yr oedd yno gynnulleidfa liosocach nag arferol, wedi dyfod i'r synagog y bore hwnw, er mwyn cael gweled a chlywed, am y tro cyntaf, un yr oedd cymaint o son am dano. Nid oes dim o'i bregeth wedi ei chofnodi; ond y mae yr argraff a wnaeth ar y gwrandawyr yn cael ei grybwyll: "*A synnasant wrth ei athrawiaeth ef,*" &c. Yr oedd yno ddyn cythreulig, fel y dengys y testun, yn mhlith y gynnulleidfa: "*Ac yr oedd yn eu synagog hwy ddyn ag ynddo ysbryd aflan,*" &c. Mae yma amryw bethau tra rhyfedd i'w gweled yn hanes y wyrth hon:—

I. GWELWN YMA YSBRYD AFLAN YN NHY DDUW, YN GWRANDAW AR GRIST YN PREGETHU: "Ac yr oedd yn eu synagog hwy

ddyn ag ysbryd aflan ynddo." Ni buasai yn rhyfedd cyfarfod â cythraul mewn tafarndŷ llygredig yn mhlith y meddwon, neu mewn carchar llawn o droseddwyr, neu ryw le annuwiol o'r fath; ond prin y buasem yn dysgwyl gweled cythraul yn y synagog yn gwrandaw ar Grist yn pregethu. Y fath gydgyfarfyddiad rhyfedd oedd yma—y *goreu* yn y greadigaeth, a'r *gwaethaf* yn y greadigaeth yn yr un ystafell. "Yma yr ydym yn gweled dyn yn yr hwn y preswyliai ysbryd aflan, a'r dyn yn yr hwn y mae 'holl gyflawnder y Duwdod yn preswylio yn gorfforol,' yn cyfarfod mewn cyffyrddiad agos y naill a'r llall, wyneb yn wyneb, o dan yr un gronglwyd. Yn y naill yr ydym yn gweled y natur ddynol wedi suddo i'r dyfnderoedd isaf o ddiraddiad, wedi dyfod yn deml—yn breswylfod i ddiafol. Yn y llall, yr ydym yn gweled yr un natur, wedi ei chyfodi a'i dyrchafu i ystâd o urddas a gogoniant anfeidrol uwch nâ'r eiddo un natur grëedig yn llywodraeth Duw—wedi ei sancteiddio i fod yn deml ac yn gysegr y Jehofa." * Dïau y gwyddai yr ysbryd aflan fod yr Iesu yn y ddinas, ac y byddai yn debyg o fod yn y synagog y bore hwnw; ac y mae yn ymddangos braidd yn rhyfedd, gan hyny, ar yr olwg gyntaf, na buasai yn ceisio ysgoi ei bresenoldeb, trwy ymgadw o'r synagog y Sabboth hwnw. Ond y mae yn debygol mai ei amcan yn dyfod yno oedd, ceisio creu rhagfarn yn erbyn Crist, a chaledu calonau y gwrandawyr, rhag iddynt gredu a bod yn gadwedig. Mae efe yn dyfod eto i dŷ Dduw, bob oedfa, gyda'r un neges, sef i geisio cipio y gair a heuir yn y galon, a "dallu meddyliau y rhai digred, fel na thywyno iddynt lewyrch efengyl gogoniant Crist." Lle pwy bynag fydd yn wag yn yr addoldŷ, nid yw y diafol byth yn absenol o un cyfarfod. Y mae digon o arwyddion, ysywaeth, o'i bresenoldeb, a'i weithrediadau ef, yn ein holl gynnulliadau crefyddol. Y mae nefoedd, daear, ac uffern yn cydgyfarfod yn

* Gwel bregeth ardderchog y Parch. W. Rees ar y testun hwn, yn y gyfrol gyntaf o "Lampau y Deml." Yr wyf yn y ddarlith yma, fel y gwelir wrth fyned yn mlaen, yn anrhegu y darllenydd ag amryw ddyfyniadau o'r bregeth odidog hon o eiddo Mr. Rees.

nhŷ Dduw bob Sabboth; ac y mae angelion da a drwg yn ymryson â'u gilydd am ein heneidiau, tra y mae llawer o honom ni, fe allai, yn hollol ddifater yn nghylch ein cyflwr a'n tynged. Y mae yn rhaid fod enaid dyn o werth mawr, pan y mae dwy deyrnas fel hyn mewn rhyfel parhaus am dano.

II. Gwelwn yma ysbryd aflan yn teimlo yn ddwys o dan weinidogaeth Crist: "Ac efe a lefodd, gan ddywedyd, Och, beth sydd i ni a wnelom â thi, Iesu o Nazareth?" Clywyd dynion weithiau yn gwaeddi mewn oedfeuon, yn enwedig mewn adegau o ddiwygiad; ond yma wele gythraul yn tori allan, yn sydyn ac annysgwyliadwy, i waeddi ar ganol yr oedfa, nes cyffroi a brawychu yr holl gynnulleidfa. "Aeth y dyn i mewn i'r synagog," medd Mr. Rees, "ac ymddygai yn weddaidd a llonydd am ysbaid. Fel yr oedd yr Athraw mawr yn myned yn mlaen gyda'i bregeth, deffroid sylw pawb, ac yr oedd pob llygad wedi ei sefydlu arno ef. Taflai yntau ei olwg oddi amgylch ar ei wrandawyr. Yn mhen enyd, darfu i lygad yr Iesu gyfarfod llygad y dyn cythreulig, darfu i'r ysbryd aflan gael ei hoelio megys i'r fan yr un foment, a darfu i bicell gallu dwyfol, yr hwn a saethwyd o edrychiad yr Iesu, ei drywanu i'w galon. Daliwyd ef yn y fan gan fath ofnau dïeithrol a rhyfedd ag na phrofwyd gan un ysbryd drwg erioed o'r blaen. Dechreuai grynu nes yr oedd holl gorff y dyn a feddienid ganddo yn cael ei ddirdynu gan y cynhyrfiadau mwyaf dychrynllyd. O'r diwedd, 'efe a lefodd,' heb allu cynal ei hun yn hwy, 'Llefodd,' nid am drugaredd a maddeuant: gwyddai yn dda nad oedd iddo ef ddim trugaredd—dim maddeuant. Llef anobaith ydoedd; llef cythraul mewn anobaith, o dan yr ymsyniad ofnadwy fod yr amser yn awr yn prysuro yn gyflym i ddadymchwelyd ei deyrnas. Yr oedd yn rhaid fod rhywbeth yn arswydus y tu hwnt i ddychymyg yn y llef hono—y llais hwnw na seiniwyd ei gyffelyb yn nghlustiau marwol ddyn erioed o'r blaen." Y mae llawer o ddynion yn dyfod i gysegr Duw, ac yn medru gwrando y bygythion

mwyaf ofnadwy o fewn y Beibl, yn cael eu cyhoeddi o'r pwlpud, heb deimlo mwy na phe byddent ond delwau o ddynion, wedi eu gwneud o feini, ac nid dynion byw. Ond y mae y cyfryw ddynion yn galetach eu calonau na chythreuliaid; canys "y mae y cythreuliaid yn credu ac yn *crynu*." (Iago ii. 19.) Nid oes nac *anffyddiaeth* na *dideimladrwydd* yn uffern.

O'r tu arall, nid yw fod dynion wedi bod dan argyhoeddiadau dwysion, ac wedi teimlo ofnau a dychrynfëydd mawrion, yn brawf digonol eu bod wedi cael gwir droedigaeth. Gall dynion gael eu hargyhoeddi a'u dychrynu heb gael eu haileni, ac heb feddu dim mwy o grefydd nag sydd gan gythreuliaid. "Fel yr oedd Paul yn ymresymu am gyfiawnder, a dirwest, a'r farn a fydd, Ffelix a *ddychrynodd*." (Act. xxiv. 25.) Ond er i Ffelix ddychrynu, ni chafodd ei ddychwelyd, a'i wneuthur yn Gristion. Byw a marw yn bagan annuwiol a wnaeth efe wed'yn. Nid yw gweled a theimlo y perygl yn dyogelu neb. Rhaid ffoi i gymeryd gafael trwy ffydd yn y gobaith a osodwyd o'n blaen cyn y byddwn yn ddyogel. "Cred yn yr Arglwydd Iesu Grist, a chadwedig a fyddi." (Act. xvi. 31.)

III. Gwelwn yma ysbryd aflan yn gwneud proffes gyhoeddus o Grist, ac yn dwyn tystiolaeth i'w sancteiddrwydd a'i ddwyfoldeb: "Mi â'th adwaen pwy ydwyt, Sanct Duw." Nid oedd y ddaear yn adnabod y Messiah, oherwydd iddo "gymeryd arno agwedd gwas," yn lle ymddangos mewn rhwysg brenhinol: "Yn y byd yr oedd efe, a'r byd a wnaethpwyd trwyddo ef; a'r byd nid adnabu ef." "Canys pe's adwaenasent, ni chroeshoeliasent Arglwydd y gogoniant." (Ioan i. 10; 1 Cor. ii. 8.) Yr oedd llawer o wahanol farnau am dano yn mhlith dynion. Pan ofynodd efe i'w ddysgyblion, "Pwy y mae dynion yn dywedyd fy mod i, Mab y dyn? Hwy a ddywedasant, Rhai mai Ioan Fedyddiwr, a rhai mai Elias, ac eraill mai Jeremïas, neu un o'r proffwydi." (Math. xvi. 13, 14.) Fel hyn ni a welwn fod y ddaear heb ei adnabod; ond yr oedd y nefoedd

wedi dwyn ei thystiolaeth iddo, ac wedi hysbysu pwy ydoedd, pan y bedyddiwyd ef gan Ioan (Math. iii. 17.); ac yma wele dystiolaeth *uffern* am dano. Yr oedd cythreuliaid yn ei adnabod, ac yn gorfod addef mai "Sanct Duw" ydoedd. Y mae tystiolaeth yr ysbryd aflan yma, am Grist, yr un yn hollol â thystiolaeth Simon Pedr, am dano (Math. xvi. 16.); lle y gwelwn y gall un feddu gwybodaeth helaeth, a bod mor gywir ei farn am Grist ag apostol; a bod er hyny mor amddifad â chythraul o wir ras: "Pe byddai genyf broffwydoliaeth, a gwybod o honof y dirgelion oll, a phob gwybodaeth;—ac heb genyf gariad nid wyf fi ddim." (1 Cor. xiii. 2.)

Ond pa beth a allasai gymhell yr ysbryd aflan yma i addef yn wirfoddol, a chyhoeddus fel hyn, mai yr Iesu oedd y Crist? Gallasem ni ddysgwyl y buasai arno ofn i'w gyffes a'i dystiolaeth enill y gwrandawyr i gredu yn Nghrist; ac y buasai yn hytrach yn ceisio gwadu ei Dduwdod, a chuddio ei ogoniant, o olwg y bobl. Ond y mae yn debyg mai ei amcan maleisus yn hyn oedd, creu rhagfarn yn meddyliau y gwrandawyr yn erbyn Crist, trwy roddi achlysur iddynt i feddwl fod cynghrair rhyngddo â'r dïafol, gan fod yr ysbryd aflan yn rhoddi gair mor dda iddo. Dyma Satan yn troi i bregethu Crist, i'r dyben o geisio tynu gwaradwydd ar yr efengyl, rhag i ddynion gredu a bod yn gadwedig. "Nid ydym ni heb wybod ei ddichellion ef." (2 Cor. ii. 11.)

IV. GWELWN YMA YSBRYD AFLAN PAN YN LLEFAIN MEWN ING A CHYFYNGDER YN CAEL EI GERYDDU A'I DDISTEWI GAN GRIST: "A'r Iesu a'i ceryddodd ef, gan ddywedyd, Taw, a dos allan o hono." Pan wnaeth Simon Pedr yr un gyffes, gan ddywedyd wrtho, "Ti yw y Crist, Mab y Duw byw. Yr Iesu a ddywedodd wrtho, Gwyn dy fyd di, Simon, mab Jona." (Math. xvi. 16, 17.) Ond ni dderbyniai Crist y dystiolaeth fwyaf anrhydeddus o enau cythraul, rhag i neb feddwl fod cynghrair rhyngddo ag ef. A'r un peth, mae yn debygol, a barai i Paul wrthod tystiolaeth y llances hono, oedd yn

Philippi, ag ysbryd dewiniaeth ynddi, yr hon a lefai ar ol Silas ac yntau, gan ddywedyd, "Y dynion hyn ydynt weision y Duw goruchaf, &c." (Act. xvi. 16—18.) Byddai yn dda i bawb o weision Crist eto wrthod pob clod a chanmoliaeth a gynygir iddynt gan Satan, a dywedyd wrtho "Taw," fel y gwnaeth yr Iesu yma.

Ond mor wahanol, fel y sylwa Mr. Rees yn briodol iawn, yr ymddygai Crist at ddynion, pan yn llefain arno mewn cyfyngder, i'r modd yr ymddygodd at yr ysbryd aflan yma. Dyma gythraul, mewn ofn a dychryn, yn ei gyffesu, ac yn ymbil yn grynedig wrth ei draed. Ond nid oedd gan yr Iesu un olwg o dosturi i'w rhoddi i ysbryd aflan, yr un gair o gefnogaeth i'w ddywedyd wrtho, yr un glust o drugaredd yn agored i dderbyn ei ddeisyfiad. Edrychai arno gyda gwg llym, a cheryddai ef yn yr iaith fwyaf llem.—Ni ymddygodd efe erioed fel hyn tuag at bechadur o ddyn mewn trallod. Llefodd lliaws arno yn eu cyfyngder, ac ni throdd efe erioed glust fyddar at yr un o honynt." Llefodd Bartimëus ddall, y wraig o Ganaan, a'r lleidr ar y groes, arno yn eu cyfyngder; ond yn lle gorchymyn iddynt dewi, cymerodd drugaredd arnynt, ac atebodd eu gweddiau. Yr oedd eu lleisiau yn beroriaeth fwy hyfryd yn ei glustiau na sain telynau aur y nef. Do, goddefodd i *ddynion drwg* ei gablu, ei watwar, ei fflangellu, poeri yn ei wyneb, ei gernodio, a'i groeshoelio; ac yn lle eu ceryddu, efe a weddiodd drostynt, gan ddywedyd, "O Dad, maddeu iddynt." (Luc xxiii. 34.) Ond ni oddefai i *ysbrydion drwg* ei gyffesu, a gweddio arno; oblegyd i waredu dynolryw, ac i ddinystrio cythreuliaid, y daethai i'r byd: "Gan fod y plant yn gyfranogion o gig a gwaed, yntau hefyd yr un modd a fu gyfranog o'r un pethau; fel trwy farwolaeth y dinystriai efe yr hwn oedd â nerth marwolaeth ganddo, hyny yw, dïafol; ac y gwaredai hwynt y rhai trwy ofn marwolaeth oeddynt dros eu holl fywyd dan gaethiwed. Canys ni chymerodd efe naturiaeth angelion; eithr had Abraham a gymerodd efe." (Heb. ii. 14—16.)

V. Gwelwn yma ysbryd aflan, er ei holl gryfder a'i ystyfnigrwydd, yn cael ei orchfygu a'i fwrw allan, gan yr hwn sydd yn gryfach na'r cryf arfog: "A'r Iesu a'i ceryddodd ef, gan ddywedyd, Taw, a dos allan o hono. Yna wedi i'r ysbryd aflan ei rwygo ef, a gwaeddi â llef uchel, efe a ddaeth allan o hono." Y mae y cythraul yn ymgynddeiriogi, am ei fod yn gorfod myned allan o'r dyn, ac y mae yn ei daflu oddiar ei eisteddle, i ganol y dyrfa, gan ei ysgwyd, a'i ddirdynu, mor arswydus nes y gallesid meddwl ei fod yn ei rwygo yn ddarnau. Goddefwyd iddo wneuthur hyn, er mwyn i'r gynnulleidfa gael cyfleusdra i weled grym a malais y diafol; ond ataliwyd ef i wneuthur niwed gwirioneddol a pharhaus i'r dyn, fel y dymunai. (Luc iv. 35.) Aeth y dyn adref yn iach o'r synagog, ac yn ei iawn bwyll, wedi ei waredu o feddiant ei orthrymwr creulawn, er mawr lawenydd i'w berthynasau a'i gyfeillion. Llanwyd pawb a welsant y wyrth, neu a glywsant son am dani, â syndod annhraethol. Gofynai y bobl i'w gilydd yn y synagog, ac ar yr heolydd, mewn syndod, "*Beth yw hyn? pa athrawiaeth newydd yw hon? canys trwy awdurdod y mae efe yn gorchymyn, ïe, yr ysbrydion aflan, a hwy yn ufuddhau iddo.*"

Y mae pethau cyffelyb i hyn, mewn ystyr ysbrydol, yn cael eu gwneud eto. Y mae llawer yn dyfod i dŷ Dduw, fel y dyn yma, yn meddiant y diafol; oblegid y mae pawb o honom wrth natur yn garcharorion ganddo, ac y mae calon dyn, yr hon a grewyd i fod yn deml i Dduw, wedi myned trwy bechod yn weithdŷ i Satan,—"yr ysbryd sydd yr awrhon yn gweithio yn mhlant anufudd-dod." (Eph. ii. 2.) Ond y mae Crist yn y synagog yn barhaus yn bwrw allan gythreuliaid, trwy weinidogaeth ei air, a dylanwad ei Ysbryd. "Pan ddelo y gelyn i mewn fel afon, Ysbryd yr Arglwydd a'i hymlid ef ymaith." (Es. lix. 19.) "A ddygir y caffaeliad oddiar y cadarn?" Y mae llawer yn barod i ateb, Na wneir byth; oblegid y mae y peth yn ymddangos yn annhebygol iawn." "Ond fel hyn y dywed yr Arglwydd, Ië, carcharorion y cadarn a ddygir, ac

anrhaith y creulawn a ddïanc: canys MYFI a ymrysonaf â'th ymrysonydd; a MYFI a achubaf dy feibion." "Pan fyddo un cryf arfog yn cadw ei neuadd, y mae yr hyn sydd ganddo mewn heddwch: ond pan ddel un cryfach nag ef arno a'i orchfygu, efe a ddwg ymaith ei holl arfogaeth ef, yn yr hon yr oedd yn ymddiried, ac a ran ei anrhaith ef." (Es. xlix. 24, 25; Luc xi. 21, 22.)

"Mae gallu canmil rhagor,
Oes gan fy Mhrynwr drud,
Nas gellir ei wrthsefyll
Gan Satan, cnawd, na byd;
Mae ynddo nerth diderfyn,
Mae ynddo gyfoeth rhad,
Deng miliwn o rinweddau
Sydd yn ei briod waed."

# V.

## IACHAU MAM GWRAIG PEDR.

"*A phan gyfododd yr Iesu o'r synagog, efe a aeth i mewn i dŷ Simon. Ac yr oedd chwegr Simon yn glaf o gryd blin: a hwy a atolygasant arno drosti hi. Ac efe a safodd uwch ei phen hi, (gan ymaflyd yn ei llaw hi) ac a geryddodd y cryd; a'r cryd a'i gadawodd hi: ac yn y fan hi a gyfododd, ac a wasanaethodd arnynt hwy.*" LUC iv. 38, 39.
[Gwel hefyd, MATH. viii. 14, 15; MARC i. 29—31.]

WEDI i'r Iesu bregethu, a bwrw yr ysbryd aflan allan o'r dyn, yn y synagog, y mae efe, a dau o'i ddysgyblion, yn cael eu gwahodd ar ddiwedd yr oedfa i fyned i dŷ dau o'i gyfeillion, oeddynt yn awr yn byw yn y ddinas, sef Pedr ac Andreas, i gael tamaid o giniaw. Gelwir Bethsaida yn "ddinas Andreas a Phedr" (Ioan i. 44), am eu bod yn enedigol oddiyno, ac wedi byw yno hyd yn ddiweddar. Ond pan briododd Pedr, y mae yn debygol iddo ef, a'i frawd, symud o Bethsaida i Capernaum, i fyw gyda 'i fam-yn-nghyfraith, am fod yno le mwy manteisiol a chyfleus iddynt i gario yn mlaen eu galwedigaeth a'u masnach, fel pysgodwyr. Ymddengys mai y bore Sabboth hwn oedd y tro cyntaf i'r Iesu fyned i dŷ Pedr; ond daeth y teulu ac yntau yn hoff iawn o'u gilydd, yn ddioed; ac y mae lle i feddwl mai yma y gwnai efe ei gartref yn benaf, ar ol gadael tŷ ei fam yn Nazareth, a dechreu ar ei weinidogaeth gyhoeddus. Newydd i'r Iesu wneud un wyrth yn y synagog, yr ydym yma yn cael ei hanes yn cyflawni un arall yn nhŷ Pedr; ac y mae hyn yn dangos y dylem ninnau ymdrechu gwneuthur daioni, nid yn unig yn nhŷ Dduw, ond hefyd yn y tai annedd y byddwn yn ymweled â hwynt.

Y *dyoddefydd* yn yr amgylchiad hwn oedd chwegr, neu fam gwraig Pedr. Y mae yn eglur, gan hyny, fod Pedr yn ŵr priod. Byddai weithiau, fel yr hysbysir ni gan Paul,

yn myned â'i wraig gydag ef ar ei deithiau cenhadol. (1 Cor. ix 5.) Mae traddodiad i'r wraig dduwiol hon gael ei merthyru, ac i Pedr fyned gyda hi i Rufain, ar y pryd, a'i fod yn ei chalonogi yn y modd mwyaf serchiadol pan oedd hi yn cael ei harwain allan i'w gosod i farwolaeth, gan ei hanog i gofio yr Arglwydd Iesu. Mae cryn bwysigrwydd yn y ffaith fod Pedr yn ŵr priod, ac yn benteulu, am ei bod yn dadymchwelyd un o gyfeiliornadau mwyaf niweidiol Pabyddiaeth. Hona y Pabyddion mai Pedr oedd esgob cyntaf Rhufain, a'u bod hwythau yn olynwyr iddo, ac eto y mae y grefydd Babaidd yn gwahardd i'w hoffeiriaid briodi. Ar ba sail y maent hwy yn gwahardd priodi, gan fod yr apostol a gyfrifir ganddynt yn ben eu Heglwys yn ŵr priod? Y rhai sydd yn rhoddi coel i ysbrydion cyfeiliornus, ac i athrawiaethau cythreuliaid sydd yn gwahardd priodi, medd Paul. (1 Tim. iv. 1—3.)

Yr *anhwyldeb* yr oedd mam gwraig Pedr yn dyoddef dano oedd "*cryd blin,*" neu glefyd poeth *(a great fever)*, medd Luc, yr hwn oedd yn ddoctor. Mae yn dra thebygol ei bod hi wedi clywed am ddyfodiad yr Iesu i'r ddinas, rywbryd yn ystod yr wythnos flaenorol, a'i bod hi wedi gobeithio cael myned i'r synagog y bore Sabboth hwnw i wrando arno yn pregethu; ond yn lle hyny cyfyngwyd hi i'w gwely, gan dwymyn boeth a pheryglus.

Yn y cyflwr hwn y cafodd yr Iesu chwegr Pedr pan yr aeth efe i'r tŷ. "*Ac yn ebrwydd y dywedasant wrtho am dani hi, a hwy a atolygasant arno drosti hi.*" Newydd weled y fath amlygiad gogoneddus o'i allu yn y synagog, yr oedd yn gwbl sicr ganddynt mai gorchwyl hawdd iddo ef fuasai ei hiachâu hithau hefyd. Dylem ninau ddilyn eu hesiampl, trwy ymbil â'r Arglwydd dros ein ceraint a'n cyfeillion, pan y byddont mewn afiechyd a chystudd: "Cyffeswch eich camweddau bawb i'ch gilydd, a gweddiwch dros eich gilydd, fel y'ch iachaer." (Iago v. 16.) Gall yr Arglwydd iachâu ein cyfeillion mewn atebiad i'n gweddiau heb wneud gwyrth, megys trwy gyfarwyddo meddwl y

meddyg i ddefnyddio cyffyriau priodol, &c. "*Ac efe a safodd uwch ei phen hi.*" Aeth i'r ystafell lle yr oedd hi yn gorwedd, edrychodd arni gyda llygad o dosturi, ymaflodd yn ei llaw i'w chyfodi yn y gwely, "*a cheryddodd y cryd; a'r cryd a'i gadawodd hi.*" Heb iddo wneud dim ond cyffwrdd y dyoddefydd â'i law, a cheryddu y clefyd â'i lais, wele hi mewn moment yn dyfod yn berffaith iach! Yr oedd y wyrth yma yn gynwysedig, nid mewn iachâu anhwyldeb anfeddyginiaethol ynddo ei hun, fel y gwnaed yn rhai o'r gwyrthiau eraill, ond mewn iachâu clefyd trwm â gair ei enau a chyffyrddiad ei law yn unig, heb ddefnyddio unrhyw feddyginiaeth, na moddion naturiol. Dyma brawf o allu Crist i waredu y corff dynol oddiwrth yr holl anhwylderau y mae wedi myned yn ddarostyngiedig iddynt trwy bechod. "*Ac yn y fan hi a gyfododd, ac a wasanaethodd arnynt hwy.*" Mae hyn yn dangos dau beth:—1. *Sydynrwydd a pherffeithrwydd ei gwellhâd.* Yn lle cryfhâu yn araf a graddol, fel y gwna dynion yn gyffredin wrth wella o glefyd trwm, wele y wraig, oedd ychydig fynydau yn ol yn gorwedd yn llesg dan dwymyn poeth, ac mewn angen am eraill i wasanaethu arni hi, yn awr yn alluog i gynnorthwyo yn ngorchwylion y tŷ, ac i weini wrth y bwrdd ar giniaw. Yr oedd hyn yn brawf effeithiol iawn i bawb oedd yn y tŷ o'i llwyr wellhâd. 2. *Ei diolchgarwch.* Mae yn amlygu y teimladau cynes oedd yn ei mynwes tuag at yr Iesu, trwy wneuthur ei goreu i'w groesawu ef, a'i ddysgyblion. Fel Martha o Bethania, yr oedd yn bleser ac yn hyfrydwch ganddi gael gweini i'r Gwaredwr pan y byddai efe yn dyfod adref yn hwyr, a lluddiedig y nos, ac yn cychwyn allan drachefn yn blygeiniol iawn yn y bore, yn y cyfnod prysur a llafurus hwnw o'i fywyd, a dreuliodd efe yn Capernaum. Dylem ninau ddilyn ei hesiampl, pan yn cael adferiad o gystudd, trwy wasanaethu yr Arglwydd, yn fwy ffyddlawn a diwyd nag erioed.

Ymdaenodd y son am y wyrth hon, fel y wyrth arall yn y synagog, yn gyflym trwy y ddinas; a chan fod y bobl yn

ofni i'r Iesu adael y dref bore dranoeth, y maent yn dal ar y cyfleusdra, trwy ddyfod ato yn lluoedd, i dŷ Pedr, y noswaith hono, wedi i'r Sabboth fyned drosodd, ac wedi i wres yr haul, yr hwn oedd yn ormod i'r cleifion ei ddal ganol dydd, gilio a lleihâu gyda'r hwyr: "*A phan fachludodd yr haul, pawb a'r oedd ganddynt rai cleifion o amryw glefydau, a'u dygasant hwy ato ef; ac efe a roddes ei ddwylaw ar bob un o honynt, ac a'u hiachâodd hwynt.*" "*A'r holl ddinas oedd wedi ymgasglu wrth y drws.*" Yr oedd yno lawer wedi dyfod i geisio iachâd iddynt eu hunain, neu eu cyfeillion, ac eraill wedi dyfod yno oddiar gywreinrwydd, er mwyn cael gweled gwyrthiau. Llewyrchai y lloer a'r ser yn ddysglaer yn y ffurfafen, tra yr oedd yr Iesu allan yn nghanol y dyrfa, yn brysur wrth y gwaith o iachâu; ac mewn ychydig oriau, y mae efe yn alltudio pob clefyd, a phob afiechyd, allan o'r ddinas. Er fod poblogaeth y dref yn llawer o filoedd, nid oedd cymaint ag un claf o'i mewn pan gododd yr haul arni bore dranoeth.

# VI.

## GLANHAD Y GWAHANGLWYFUS.

*"Ac wele, un gwahanglwfus a ddaeth ac a'i haddolodd ef, gan ddywedyd, Arglwydd, os myni, ti a elli fy nghlanhâu i. A'r Iesu (gan dosturio) a estynodd ei law, ac a gyffyrddodd âg ef, gan ddywedyd, Mynaf, glanheir di. Ac yn y fan ei wahanglwyf ef a lanhâwyd."*
MATH. viii. 2, 3. [Gwel hefyd MARC i. 40—43; LUC v. 12, 13.]

MAE yn debyg mai dyma y tro cyntaf i'r Iesu amlygu ei allu dwyfol trwy iachâu y gwahanglwyf, a dichon mai dyna y rheswm paham y mae tri o'r Efengylwyr yn cyd-adrodd hanes y wyrth hon, tra nad ydynt yn gwneuthur felly gyda golwg ar un wyrth arall o'r fath, ar ol hyn. Ymddengys i'r wyrth fawr hon gael ei chyflawni yn ddioed wedi i'r Iesu orphen ei bregeth anghydmarol ar y mynydd. Dywedir mewn un man fod "yr Arglwydd yn cadarnhau y gair," a bregethid gan ei apostolion, "trwy arwyddion y rhai oedd yn canlyn." (Marc xvi. 20.) Yma y mae yn gwneud yr un peth â'i air ei hun. Mae yn profi fod dwyfol awdurdod yn y geiriau a lefarasid ganddo, ar y mynydd, trwy gyflawni y wyrth hon ar ei ffordd i waered o'r mynydd, ac yn ngolwg y torfëydd lliosog oeddynt newydd fod yn gwrando arno yn pregethu. Dywed Luc, mai pan oedd yr Iesu "mewn rhyw ddinas," y daeth y gwahanglwyfus hwn ato (Luc v. 12); ond gan nad oedd caniatâd i'r gwahangleifion i fyned i mewn i'r dinasoedd, mae yn debygol mai meddwl geiriau Luc yw, i hyn gymeryd lle *gerllaw* rhyw ddinas, yn Galilea.* Yr oedd y gwahanglwyfus druan wedi deall fod yr Iesu i ddyfod y ffordd hono, a chan fod y gyfraith yn gwahardd iddo fyned ato i'r ddinas, nid oedd ganddo ddim i'w wneud ond sefyll yn ochr y ffordd, i'w ddysgwyl heibio. O'r diwedd, y mae yn ei weled yn dyfod, a thorfeydd lawer yn ei ganlyn. Pwy a all ddesgrifio y pryder a

* Capernaum ond odid oedd y ddinas hono.

lanwai fynwes y truan y fynyd hono? Ai tybed fod rhyw obaith y cymer yr Iesu drugaredd arno? Wel, y mae yn sicr ganddo, modd bynag, ei fod yn alluog i'w lanhâu, a doed a ddelo, y mae yn penderfynu syrthio wrth ei draed, ac ymbil am lanhâd. Fel y mae y dyrfa yn neshâu, y mae y truan, sydd yn ochr y ffordd, yn dechreu llefain, "Aflan, aflan," er rhybudd i bawb i gilio draw, a gochel dyfod yn agos ato. "*A phan welodd efe yr Iesu, efe a syrthiodd ar ei wyneb, ac a ymbiliodd ag ef, gan ddywedyd, O Arglwydd, os ewyllysi, ti a elli fy nghlanhâu.*" Gadewch i ni gymeryd cipolwg, yn frysiog, ar y gweddiwr; ei weddi; a'i lanhâd.

I. Y Gweddiwr:—"Ac wele *un gwahanglwyfus* a ddaeth, ac a'i haddolodd ef." *

Ymddengys fod ei bla dychrynllyd wedi myned i'r man gwaethaf; canys dywed Luc ei fod "*yn llawn o'r gwahanglwyf.*" Y gwahanglwyf oedd y mwyaf ofnadwy o'r holl blâau y sonia y Beibl am danynt. Cawn ddesgrifiad lled fanwl o hono yn Lef. xiii. a'r xiv. Dylem ddiolch llawer am nad yw y pla arswydus hwn yn adnabyddus yn ein gwlad ni; ond ar yr un pryd y mae yn gweddu i ni gofio ac ystyried ein bod ni oll, wrth natur, yn ngafael pla ysbrydol, annhraethol waeth, a mwy dychrynllyd, na'r gwahanglwyf ei hunan. Yr oedd y gwahanglwyf, fel y mae y rheolau perthynol iddo yn y Beibl yn dangos, wedi ei ddewis gan Dduw, o blith yr holl glefydau y mae y natur ddynol yn ddarostyngedig iddynt, i fod yn ddarlun a chysgod o bechod. Yr ydoedd felly am ei fod—

1. *Yn gynyddol.* Byddai yn llygru y gwaed, ac yn gwreiddio yn y cyfansoddiad, weithiau am flynyddau cyn i unrhyw arwyddion gweledig o hono dori allan. Ymddangosai yn gyntaf, yn gyffredin, mewn cramen fechan ddysglaer ar y wyneb, ac ymledai yn raddol nes gorchuddio yr holl gorff â chramenod gwynion, y rhai a barent ysfa annyoddefol. Yr un modd y mae pechod yn gwreiddio yn y galon, yn tori allan i'r golwg mewn gweithredoedd drwg; ac

* Tybia rhai mai Simon y gwahanglwyfus oedd. (Marc xiv. 3.)

yn "cynyddu i fwy o annuwioldeb." Y mae egwyddorion pechod yn nghalon y baban bach tlws a diniwed, sydd bron mor brydferth ag angel; ac er iddo farw yn ei fabandod, cyn cyflawni yr un pechod gweithredol crioed, eto y mae yn rhaid iddo gael ei aileni, onide fe dyfai i fynu yn elyn i Dduw, ac yn wrthryfelwr yn ei erbyn yn y nefoedd.* Bu Nero a Judas unwaith yn fabanod bach diniwed. Yr oedd y gwahanglwyf yn cyrhaedd gwisg, a muriau tŷ y gwahanglwyfus, fel yr oedd yn rhaid llosgi y dillad, a thynu y tŷ i lawr hyd ei sylfeini. Felly y mae y pla ysbrydol, sydd ar ein heneidiau ninau, wedi llygru ein cyrff, a'r byd yr ydym yn byw ynddo, fel y rhaid i'r corff farw, a myned i'r bedd i'w buro, ac i'r byd yma gael ei losgi, i'w lanhâu oddiwrth effeithiau pechod. Yr oedd y gwahanglwyf

2. *Yn dra ffiaidd.* Yr oedd y llygaid yn myned yn fflamgoch; y tafod yn sychu, yn duo, yn chwyddo, ac yn myned yn llawn o friwiau; y wyneb yn ymddangos yn llwyd-ddu, fel marworyn wedi haner losgi; yr aelodau yn dechreu myned yn ddideimlad a diffrwyth, yna yn pydru, ac yn syrthio ymaith o un i un oddiwrth y corff; ac yr oedd y cnawd llygredig yn cynyrchu arogl annyoddefol o ffiaidd. Yr un modd y mae pechod yn adgas a ffiaidd yn ngolwg Duw: "Y pen oll sydd glwyfus, a'r holl galon yn llesg." O wadn y troed hyd y pen nid oes dim cyfan ynddo; ond archollion, a chleisiau, a gwelïau crawnllyd." "Na wnewch, atolwg, y ffieidd-beth hyn, &c." (Esaiah i. 5, 6; Jer. xliv. 4.) Yr oedd y gwahanglwyf

3. *Yn aflan yn ngolwg y gyfraith.* Gwaherddid i neb, ond yr offeiriad, gyffwrdd â'r gwahanglwyfus, nid am fod y pla yn heintus, ond am fod pwy bynag a gyffyrddai ag ef yn halogi ei hunan yn ngolwg y gyfraith seremonïol. Yr

* Dywedir fod plant rhïeni gwahanglwyfus, yn ymddangos yn eu mabandod, mor iach a phrydferth ag unrhyw blant; ond bob yn dipyn gwelir arwyddion eglur fod y pla arswydus yn nghyfansoddiad y rhai bychain. Byddai yn anhawdd i neb goelio wrth edrych ar y baban bach prydferth, yn mreichiau ei fam wahanglwyfus, ei fod yntau hefyd yn wahanglwyfus; ond gadawer i'r pla anaele gael amser a bydd yn sicr o roddi profion digamsyniad o'i bresenoldeb. Gwel "*The Land and the Book,*" p. 653, 4.

oedd yn rhaid i'r gwahanglwyfus lefain, "Aflan, aflan," er rhybudd i bawb a welai i beidio dyfod yn agos ato. Yr oedd hyn wedi ei fwriadu i ddangos fod perygl i ninau gael ein llygru wrth ymgymysgu a chyfeillachu yn ddiangenrhaid ag annuwiolion:—"O herwydd paham deuwch allan o'u canol hwy, ac ymddidolwch, medd yr Arglwydd, ac na chyffyrddwch â dim aflan, &c." (2 Cor. vi. 17.) Yr oedd y gwahanglwyfus yn cael ei gau allan, o herwydd ei aflendid seremonïol, o blith y rhai glân: "Yr holl ddyddiau y byddo y pla arno, bernir ef yn aflan, aflan yw efe: triged ei hunan; bydded ei drigfa allan o'r gwersyll." "Ac Uzzïah y brenin a fu wahanglwyfus hyd ddydd ei farwolaeth, ac a drigodd yn wahanglwyfus mewn tŷ neillduol; canys efe a dorasid ymaith o dŷ yr Arglwydd." (Lef. xiii. 46; 2 Chron. xxvi. 21.) Fel hyn yr oedd y pla arswydus hwn yn ysgaru y neb a fyddai dano oddiwrth ei deulu, a'i gyfeillion; ac yn ei orfodi i dreulio ei ddyddiau mewn unigedd pruddglwyfus, naill ai wrtho ei hunan, mewn bwthyn bychan a ddarparesid iddo, neu ynte gyda gwahangleifion eraill. Pan y byddai farw un o'i berthynasau, ni feiddiai efe fyned i'w hebrwng i "dŷ ei hir gartref," ac ni byddai ganddo ond sefyll o hirbell, i edrych ar y claddedigaeth yn cychwyn, oddiwrth y tŷ, ac wylo wrtho ei hunan. Ni chaniateid iddo ychwaith ddyfod i blith cynnulleidfa yr Arglwydd, yn y tabernacl, na'r deml. Pan y gwelai y llwythau yn myned yn finteioedd, dan ganu, i fynu i Jerusalem, i'r gwyliau arbenig, ni oddefid iddo ef fyned gyda hwynt; ac ni byddai ganddo ond wylo mewn hiraeth pan feddyliai am Sïon. Yr oedd hyn oll wedi ei amcanu i ddysgu fod pechod yn cau allan o'r Jerusalem nefol, ac o bresenoldeb Duw, a chymdeithas yr angelion a'r saint, yn y nef: "Ac nid â i mewn iddi ddim aflan." "Gwyn eu byd y rhai sydd yn gwneuthur ei orchymynion ef, fel y byddo iddynt fraint yn mhren y bywyd ac y gallont fyned i mewn trwy y pyrth i'r ddinas. Oddi allan y mae y cwn, a'r swyn-gyfareddwyr, a'r puteinwyr, a'r llofruddion, a'r eilun-addolwyr, a phob un a'r sydd

yn caru ac yn gwneuthur celwydd." (Dat. xxi. 27; xxii. 14, 15.) Yr oedd y gwahanglwyf

4. *Yn anfeddyginiaethol i bawb ond Duw.* Yr oedd ambell i wahanglwyfus yn cael ei iachâu, ond yn anfynych iawn, a phan y byddai hyny yn dygwydd, nid trwy fedrusrwydd y meddyg, ond trwy gyfryngiad neillduol Duw, yr oedd yr iachâd yn cael ei effeithio. Mae anallu dyn i'w iachâu yn cael ei ddangos yn ngeiriau brenin Israel, pan anfonwyd Naaman ato, i gael ei iachâu ganddo o'i wahanglwyf. Rhwygodd y brenin ei ddillad, gan ddywedyd, "Ai Duw ydwyf fi, i farwhâu ac i fywhâu, pan anfonai efe ataf fi i iachâu gŵr o'i wahanglwyf?" (2 Bren. v. 7.) A'r un modd nid oes neb ond Duw a fedr ein glanhâu ninau oddiwrth ein pechodau. Ofer i ni geisio iechydwriaeth trwy unrhyw weithredoedd o'n heiddo ein hunain. Ni byddai waeth i ni geisio creu byd, na cheisio gwneud iawn am y pechod lleiaf. Ac mor fawr yw ein llygredd, fel nas gallwn ymadael â'n pechodau ychwaith, yn ein nerth ein hunain. Nid oes na dyn, nac angel, na neb ond Crist, a fedr wared pechadur oddiwrth ei bechodau: "Ac nid oes iechydwriaeth yn neb arall," &c. (Act. iv. 12.)

5. *Yr oedd y gwahanglwyfus yn cael edrych arno fel un marw.* Gorchymynid iddo fod â'i wisgoedd wedi eu rhwygo, a'i ben yn noeth (Lef. xiii. 45), yn arwydd ei fod yn galaru am dano ei hun fel un marw. Defnyddid yr un pethau wrth ei lanhâu hefyd, sef coed cedr, isop, ac ysgarlad, ag a ddefnyddid wrth lanhâu rhai fyddent wedi halogi eu hunain trwy gyffwrdd â chorff marw, ac nid oedd y pethau hyn byth yn cael eu defnyddio ar un achlysur arall. (Num. xix. 6, 13, 18; Lef. xiv. 4—7.) Yr oedd yn arferiad mewn rhai gwledydd i wisgo y gwahanglwyfus mewn amdo, a darllen y gwasanaeth claddu uwch ei ben. Fel hyn rhyw "fedd symudol" *(walking sepulchre)*, oedd y gwahanglwyfus druan. Ac felly hefyd y mae pob pechadur, wrth natur, yn farw mewn camweddau a phechodau. O! na byddem ni mor deimladwy o'n trueni, ac mor awyddus am lanhâd â'r dyn

yma yn y testun; ac na byddai pob un o honom yn barod i lefain fel yr apostol, "Ys truan o ddyn wyf fi! pwy a'm gwared i oddiwrth gorff y farwolaeth hon?" (Rhuf. vii. 24.)

II. Ei weddi:—"Ac wele, un gwahanglwyfus a ddaeth ac a'i haddolodd ef, gan ddywedyd, *Arglwydd, os myni, ti a elli fy nglanhâu i.*" Gwelir y pethau canlynol yn ei weddi:—

1. *Gostyngeiddrwydd a pharch.* Er mai dyn cyffredin oedd y Gwaredwr, o ran ei ymddangosiad allanol, eto dywedir i'r gwahanglwyfus "*syrthio ar ei wyneb,*" ger ei fron, a'i "*addoli.*" Nis gellir bod yn sicr pa un a ydoedd yn edrych ar yr Iesu yn fwy na phroffwyd mawr, ac a ydoedd yn talu addoliad dwyfol iddo. Ond modd bynag, y mae yn eglur fod ganddo barch goruchel i Grist, a meddyliau isel am dano ei hun. Gyda'r un teimladau y dylem ninau neshâu at orseddfainc y gras. Fel y sylwa yr anfarwol Howe, "Y mae y rhai sydd yn disgyn i leoedd dyfnion, yn gweled y ser ganol dydd, ac felly hefyd o ddyfnderoedd hunanymostyngiad y cawn ninau olwg ar ogoniant Duw." "Er bod yr Arglwydd yn uchel, eto efe a edrych ar yr isel: ond y balch a edwyn efe o hirbell." (Salm cxxxviii. 6.)

2. *Difrifoldeb a thaerineb:* "A phan welodd efe yr Iesu, efe a syrthiodd ar ei wyneb, ac a *ymbiliodd* ag ef," medd Luc. Yr ydoedd yn teimlo ei drueni, am hyny y mae, nid yn gofyn yn ffurfiol ac yn glaiar, ond o ddifrif yn gweddio am lanhâd. Oni ddylem ninau fod felly pan yn gweddïo am waredigaeth oddiwrth y pla ysbrydol yr ydym oll yn ei afael?

3. *Ffydd gref yn ngallu Crist:* "Arglwydd, os myni, ***ti a elli*** fy nglanhâu i." Gwyddai yn dda na buasai waeth i bob gallu dynol geisio golchi croen yr Ethiop du yn wyn, na cheisio ei lanhâu ef oddiwrth ei wahanglwyf; ond eto yr oedd yn credu fod Crist yn alluog i wneud hyny, ac yr oedd yn credu hyn cyn i'r Iesu erioed ddangos ei allu trwy iachâu neb oedd wedi bod yn yr un cyflwr ag ef; canys hwn, fel y crybwyllwyd eisoes, oedd y gwahanglwyfus cyntaf a lanhâwyd ganddo. Mor wahanol oedd hwn i'r dyn hwnw a

ddaeth at y Gwaredwr yn achos ei fab, gan ddywedyd wrtho, "ond *os gelli di ddim* cymhorth ni, gan dosturio wrthym." (Marc ix. 22.) Y mae eisieu i ninau, fel y gwahanglwyfus, fyned at Grist, "mewn llawn hyder ffydd" yn ei allu i'n hachub, er mor ddrwg yw ein cyflwr: "Am hyny efe a ddichon hefyd yn gwbl iachâu y rhai trwyddo ef sydd yn dyfod at Dduw, &c." (Heb. vii. 25.)

Nid oedd gan y gwahanglwyfus unrhyw amheuaeth o berthynas i *allu* Crist i'w iachâu; ond yr oedd yn ofni rhag nad oedd ei lanhâu yn beth unol ag *ewyllys* Crist; ac nid rhyfedd, canys nid oedd ganddo ef druan un amlygiad o ewyllys yr Iesu yn nghylch y mater. Y mae yn gwneuthur, gan hyny, yr oll a allesid ei ddysgwyl a'i ddymuno iddo ei wneud o dan yr amgylchiadau, wrth ddatgan ei hyder yn ngallu Crist, ac ymostwng i'w ewyllys.

III. Ei lanhad:—"A'r Iesu, gan dosturio, a estynodd ei law, ac a gyffyrddodd âg ef, ac a ddywedodd wrtho, Mynaf, bydd lân." (Marc i. 41.) Mae yma bedwar o bethau teilwng o'n sylw:—

1. *Tosturi ei galon:* "A'r Iesu, *gan dosturio,*" &c. Y mae golwg ar wrthddrych truenus yn cyffroi ymysgaroedd tosturi yn mhob calon dyner. Ond nid yw yr holl gydymdeimlad a'r tosturi sydd mewn dynion, ond rhyw fân ffrydiau o'r ffynon ddiysbydd o ras sydd yn nghalon y Gwaredwr: "oblegyd tosturiol iawn yw yr Arglwydd, a thrugarog." (Iago v. 11.)

2. *Cyffyrddiad ei law:* "A'r Iesu, gan dosturio, *a estynodd ei law, ac a gyffyrddodd âg ef.*" Yn lle troi ei wyneb draw rhag edrych ar wrthddrych mor adgas yr olwg arno, y mae yr Iesu yn ei anfeidrol dosturi yn gosod ei law arno, i'r dyben o gryfhâu ei hyder yn ei gydymdeimlad a'i barodrwydd i'w lanhâu, ac i ddangos yn amlwg i'r gwyddfodolion fod yr iachâd yn deilliaw o hono ef. Tynu halogrwydd arno ei hun y buasai pawb arall wrth gyffwrdd y gwahanglwyfus (Lef. v. 3); ond yn lle halogi ei hun, glanhâu yr aflan y mae Crist wrth ei gyffwrdd. Y mae efe yn cyffwrdd trwy ei Ysbryd â phawb a lanheir ganddo oddiwrth wahan-

glwyf pechod. Rhaid dyfod i undeb a chyffyrddiad âg ef mewn trefn i dderbyn rhinwedd allan o hono.

3. *Datganiad o'i barodrwydd i lanhâu y truan.* "Os ewyllysi," meddai y gwahanglwyfus. "*Yr wyf yn ewyllysio,*" ebe yr Iesu, "ni raid i ti betruso am haner mynyd yn nghylch hyny." Nid yw Crist yn dweyd dim am ei allu i'w iachâu ; ond y mae yn hysbysu ei barodrwydd i wneud hyny, am mai nid yn nghylch ei allu, ond yn nghylch ei ewyllys, yr oedd y pryder yn meddwl y dyn. Mae genym ninau ddigon o brofion o'i barodrwydd, yn gystal ag o'i allu, i'n hachub, fel nad oes eisieu i ni ddweyd, "Os *myni*, ti a elli fy achub." Tystiolaeth ei wahoddiadau taerion, ei ddagrau, a'i waed, yw ei fod "yn ewyllysio bod pob dyn yn gadwedig." (1 Tim. ii. 4 ; 2 Pedr iii. 9.)

'Nac amheuwch,
Abl, ac ewyllysgar yw."

4. *Effeithiolrwydd ei air.* "Ti a elli fy nglanhâu i," meddai y gwahanglwyfus. "*Bydd lân,*" ebe yr Iesu. "Clybu y truan lais nad anghofia byth yn dweyd gyda dwfn dosturi, '*Mynaf, bydd lân.*' Gyda y gair hwn cerddai cyfnewidiad trwyddo—teimlodd waed newydd yn ei wythienau, dylif o fywyd iach yn cerdded trwy ei aelodau pwdr. Gwybu fod ei wahanglwyf wedi myned, a chododd i fyny yn lân, ac yn rhydd, wedi ei adferu i'w deulu a'i gyfeillion, ac i holl freintiau cymdeithas." "*Ac yn y fan ei wahanglwyf ef a lanhäwyd.*" Y fath allu oedd yn cydfyned â gair yr Iesu! Ynfydrwydd fyddai i'r meddyg enwocaf geisio iachâu unrhyw glaf, yn unig trwy ddweyd wrtho, "Bydd iach." Y mae yn rhaid i ddyn ddefnyddio moddion, ac offerynau cyfaddas, i gwblhâu yr hyn y byddo yn ewyllysio ei wneuthur. Gallwn ni ewyllysio llawer o bethau ; ond nis gallwn wneud dim wrth ewyllysio yn unig, ac heb arfer moddion priodol. Ond am Grist, yr oedd ei ewyllys ef yn Hollalluog. Yr oedd gan ei ewyllys ef fwy o lywodraeth ar yr holl greadigaeth nag sydd gan ein hewyllys ni ar

aelodau y corff. Y mae efe eto yn medru gwneud ei air yn effeithiol i lanhâu yr enaid oddiwrth bechod: "Yr awrhon yr ydych chwi yn lân trwy y gair a leferais i wrthych." (Ioan xv. 3.)

"*A dywedodd yr Iesu wrtho, Gwel na ddywedwch wrth neb.*" Mae yn debygol i'r gwaharddiad hwn gael ei roddi i'r dyn oherwydd y naill neu y llall o'r rhesymau canlynol:— 1. Rhag ofn i'r gair gyrhaedd i glustiau yr offeiriad yn Jerusalem o'i flaen, ac i hwnw, o genfigen at yr Iesu, wrthod cyhoeddi y dyn yn lân, ar ol clywed pwy a'i gwnaethai yn iach. Paid a son gair wrth neb am y wyrth, hyd nes y byddo yr offeiriad wedi derbyn dy rodd, ac wedi dy gyhoeddi yn lân, rhag iddo geisio haeru yn faleisus, naill ai ni buost erioed yn wahanglwyfus, neu ynte nad ydwyt wedi dy lanhâu yn wirioneddol. Aros nes y byddi wedi cael y *certificate* ganddo, ac yna dywed wrtho pwy a'th wnaeth yn iach. 2. Rhag i dorfeydd rhy liosog ymdyru ato i geisio iachâd, a bendithion tymhorol, nes ei rwystro i ddysgu a phregethu. Hyn fu y canlyniad o waith y dyn "yn taenu y gair ar led," yn groes i orchymyn Crist. (Marc i. 45.) 3. Rhag cyffroi llid a gelyniaeth y penaethiaid Iuddewig yn ei erbyn. Dyma yr effaith oedd hanes ei weithredoedd nerthol yn gael arnynt (Ioan xi. 46—48.) "*Eithr dos, dangos dy hun i'r offeiriad, ac offryma y rhodd a orchymynodd Moses,*" sef dau aderyn y tô, byw a glân, a choed cedr, ac ysgarlad, ac isop." (Lef. xiv. 4.) "*Er tystiolaeth iddynt,*" sef i'r offeiriaid, a'r bobl, medd rhai, na ddaethai Crist i dori y gyfraith, fel yr haerai ei wrthwynebwyr yn faleisus, ond i gyflawni; ac nad oedd efe am ddiddymu hyd yn nod unrhyw gysgod, nes iddo ddwyn y sylwedd i mewn yn ei le. Ond y mae eraill yn dweyd fod y geiriau yn arwyddo yn hytrach, "er tystiolaeth *yn eu herbyn* hwynt," yn erbyn eu hangrhediniaeth hwynt, y rhai ydynt yn gwrthod credu ynof fi, hyd yn nod pan yr wyf yn profi fy nwyfol allu trwy y fath wyrthiau â hyn, gwyrthiau y maent hwy eu hunain yn addef eu gwirionedd a'u didwylledd, trwy eu gwaith yn

derbyn dy rodd, ac yn dy gyhoeddi yn lân. "Y gweithredoedd hyny y rhai yr ydwyf fi yn eu gwneuthur, sydd yn tystiolaethu am danaf fi, mai y Tad a'm hanfonodd i." (Ioan v. 36.)

Yr oedd yn rhaid i'r dyn yma gael ei lanhâu oddiwrth ei wahanglwyf cyn y gallasai fod yn hapus mewn unrhyw amgylchiadau. Pe buasai yn cael ei wisgo â dillad brenhinol, a'i osod i fyw mewn palas ardderchog, yn nghanol y golygfeydd mwyaf prydferth a swynol, ni buasai yn ddedwydd, hyd yn nod mewn amgylchiadau felly, tra "yn llawn o'r gwahanglwyf." A'r un modd am danom ninau; ni byddem yn ddedwydd, hyd yn nod yn y nefoedd ei hunan, pe caniateid i ni fyned yno, heb ein glanhâu oddiwrth ein pechodau. Dïolchwn, gan hyny, am fod gan Dduw drefn i'n glanhâu;—trefn i'n sancteiddio, yn gystal a'n cyfiawnhâu; ac i'n gwneud yn ogoneddus, heb arnom na brycheuyn, na chrychni, na dim o'r cyfryw; ond fel y byddem yn sanctaidd ac yn ddifeius; a gweddiwn yn barhaus fel y Salmydd, "Golch fi yn llwyr-ddwys oddiwrth fy anwiredd, a glanhâ fi oddiwrth fy mhechod." (Salm li. 2.)

# VII.

## IACHAU GWAS Y CANWRIAD.

"*A'r Iesu pan glybu, a ryfeddodd, ac a ddywedodd wrth y rhai o'dd yn canlyn. Yn wir meddaf i chwi, Ni chefais gymaint ffydd, naddo yn yr Israel. . . . . A dywedodd yr Iesu wrth y canwriad, Dos ymaith ; ac megis y credaist, bydded iti. A'i was a iachawyd yn yr awr hono.*" MATH. viii. 10, 13. [Gwel hefyd LUC vii. 1—10.]

GYDA bod yr Iesu yn cyrhaedd i mewn i Capernaum, ar ol traddodi ei bregeth ar y mynydd, a iachâu y gwahanglwyf-us ar y ffordd wrth ddyfod i waered o'r mynydd, wele y canwriad, y sonia yr adnodau hyn am dano, yn dyfod ato yn achos ei was, oedd "yn glaf o'r parlys, ac mewn poen dirfawr." Cadben ar gatrawd o gant o filwyr yn y fyddin Rufeinig oedd hwn. Yr ydoedd wedi ei ddwyn i fynu yn bagan, ac yn eulunaddolwr; ond ar ol dyfod i Capernaum, cafodd ei ddwyn i adnabod y gwir Dduw, ac i gofleidio y grefydd Iuddewig. Dywedir ei fod wedi adeiladu synagog i'r Iuddewon, ar ei draul ei hun. (Luc vii. 5.) Y mae yn eglur, gan hyny, ei fod yn ŵr cyfoethog; ond yn lle cadw ei holl olud iddo ei hun, a'i deulu, na'i wastraffu ar oferedd, y mae yn defnyddio ei eiddo i ogoneddu Duw, a lleshâu ei gyd-ddynion. Wedi cysegru ei galon ei hun i fod yn deml i Dduw, trwy yr Ysbryd, y mae yn myned i'r draul o adeiladu synagog, at wasanaeth ei gyd-ddinasyddion. Un o'r bendithion gwerthfawrocaf a ellir roddi i dref neu gymmydogaeth yw tŷ addoliad. Ac y mae gwaith y canwriad yn rhoddi synagog yn *bresent* i'r Iuddewon, yn dangos yn eglur ei fod yn ŵr o ysbryd haelionus iawn. Gellid medd-wl, oddiwrth yr hanes yn Mathew, iddo fyned ei hunan, yn bersonol, at yr Iesu; ond y mae Luc yn dweyd ei fod yn teimlo ei hun yn rhy annheilwng i hyny, ac o ganlyniad, iddo ddanfon henuriaid yr Iuddewon, y dynion mwyaf

parchus yn y ddinas, drosto at Grist. Nid oes yma ddim anghysondeb gwirioneddol rhwng y ddau Efengylwr; canys dywedir yn fynych fod un yn gwneuthur yr hyn y mae arall yn ei wneuthur drosto, ac yn ei enw. Anfonodd y canwriad drachefn rai o'i gyfeillion i gyfarfod yr Iesu; ac ymddengys iddo gasglu digon o hyder i fyned ei hunan o'r diwedd i'w gyfarfod, pan oedd Crist wedi cyrhaedd yn agos i'w dŷ; canys yr ydym yn cael i'r Iesu "*ddweyd wrtho.* Dos ymaith; ac megis y credaist bydded i ti." Y mae gweithredoedd a geiriau y canwriad yn dangos yn eglur fod ganddo ffydd gref, ac y mae y Gwaredwr yn rhyfeddu, ac yn canmol ei ffydd, ac yn ei dal allan fel esiampl deilwng o efelychiad.

I. Y PETHAU OEDD YN DANGOS FFYDD Y CANWRIAD.

1. *Ei ofal am ei was.* Yr oedd ei was "yn glaf o'r parlys, ac mewn poen ddirfawr." Yr oedd yr anhwyldeb yma, yn ngwledydd y dwyrain, yn fath o *gramp* dirdynol, yn darostwng y dyoddefydd i'r poenau mwyaf arteithiol, ac yn terfynu yn gyffredin yn angeuol, mewn ychydig ddyddiau. Dyma y cyflwr yr oedd gwas y canwriad ynddo, a phan ydoedd "*yn mron marw,*" y mae ei feistr, er ei fawr lawenydd, yn clywed fod yr Iesu newydd gyrhaedd i'r ddinas; ac y mae yn myned ato yn ddioed yn achos ei was. Mae genym hanes am lawer yn dyfod at Grist drostynt eu hunain, i geisio bendithion ganddo; ac am amryw yn dyfod ato dros eu plant; ond dyma yr unig un y sonir am dano yn dyfod ato dros ei *was.* Y mae Luc yn dweyd fod ei was "yn anwyl ganddo," oblegid ei onestrwydd, ei ddiwydrwydd, ei ffyddlondeb, a'i ofal am yr hyn a berthynai i'w feistr. Dywed Bacon nad oes ond y cyfaill goreu yn gyfartal mewn gwerth i was da. Yr oedd hwn yn ddiau yn was da, ac yr oedd y canwriad hefyd yn feistr tirion a charedig. Golygfa brydferth iawn oedd gweled gŵr bonheddig fel hyn yn dangos y fath gydymdeimlad â'i was tlawd, pan ydoedd yn glaf—yn eistedd wrth ei wely, i weini arno, a cheisio ei gysuro, ac yn myned i'r fath drafferth i anfon henuriaid yr Iuddewon at yr Iesu yn ei achos. Nis gallasai wneud mwy i'w

blentyn. Gwir fod ambell ddyn annuwiol yn feistr hynaws a charedig. Y mae tiriondeb yn reddf naturiol ynddo; ac oblegid hyny, y mae yn dyner wrth ei was a'i forwyn, am yr un rheswm ag y mae yn dirion wrth ei geffyl a'i gi. Ond yr oedd tiriondeb y canwriad yn tarddu oddiar ei ffydd. Yn lle edrych ar ei was fel creadur o rywogaeth islaw iddo ef ei hun, fel y gwnai y Rhufeiniaid yn gyffredin y dyddiau hyny, efe a'i parchai fel creadur rhesymol ac anfarwol, ac fel brawd a chyd-ddyn. Lle bynag y mae gwir ffydd yn Nuw, y mae yno hefyd dosturi a chariad tuag at ddyn.

2. *Ei ostyngeiddrwydd dwfn*: "*A'r canwriad a atebodd ac a ddywedodd, Arglwydd, nid ydwyf fi deilwng i ddyfod o honot dan fy nghronglwyd.*" Nid oedd yr holl ganmol oedd arno am ei elusenau, wedi ei wneuthur yn hunanol a balch. Dadleuai henuriaid yr Iuddewon ei fod yn *haeddu* y gymwynas a geisiai gan yr Iesu; ond mor wahanol i hyny y siaradai efe am dano ei hun. Nid oedd Crist, o ran ei amgylchiadau ond Iuddew tlawd, heb le i roddi ei ben i lawr, tra yr oedd y canwriad, o'r tu arall, yn swyddog milwrol, ac yn ŵr bonheddig, ac fe allai yn un a wahoddid yn fynych i eistedd wrth fwrdd Herod frenin, yn y palas brenhinol. Ac eto yr oedd gan y canwriad feddyliau mor barchus am Grist, ac mor isel am dano ei hun, fel yr ystyriai ei hun yn annheilwng i un mor urddasol ddyfod i'w dŷ. Fel y sylwa M. Henry, nid dweyd nad oedd ei *was* yn deilwng i'r Iesu ddyfod i'w ystafell, am fod ei wely yn y *garret* y mae: ond dweyd nad oedd efe ei hun yn deilwng i Grist ddyfod i'w balas. Ond os oedd y canwriad yn cyfrif ei hun yn annheilwng i'r Iesu ddyfod i'w dŷ, y mae yr Iesu ei hun, fel y sylwa Augustine,* yn ei gyfrif yn deilwng iddo ef fyned i'w galon i breswylio—yr hyn oedd yn llawer mwy braint na'i gael i'w dŷ; canys y mae genym hanes am lawer yn ei gael i'w tai, megys Simon y Pharisead hunangyfiawn hwnw (Luc vii. 36.), ac eraill, heb fod yn ddim gwell o hyny wed'yn. Nis gallwn ni ei gael i'n tai yn

* Gwel Trench ar y Wyrth hon.

bresenol; ond gall pawb o honom ei gael i "breswylio trwy ffydd yn ein calonau," ond meithrin ysbryd gostyngedig fel y canwriad yma: "Canys fel hyn y dywed y Goruchel a'r Dyrchafedig, yr hwn a breswylia dragywyddoldeb, ac y mae ei enw yn sanctaidd, Y goruchelder a'r cysegr a breswyliaf; a chyd â'r cystuddiedig, a'r isel o ysbryd, &c." (Esaiah lvii. 15.)

3. *Ei grediniaeth ddiysgog yn ngallu Crist i iachâu ei was heb ddyfod ato: "yn unig dywed y gair, a'm gwas a iachêir."* Nid ydoedd yn meddwl fod eisieu i'r Iesu ddyfod i olwg y claf, a dodi ei ddwylaw arno, na danfon unrhyw gyffyriau iddo—dim ond yn unig dweyd y gair, yn y fan lle yr ydoedd. Credai fod Crist yn wahanol i bob meddyg arall, fod ei allu i iachâu yn ymddibynu, nid ar ei bresenoldeb corfforol, nac ar ei waith yn defnyddio moddion cyfaddas, ond ar ei ewyllys yn unig. Dichon ei fod wedi clywed ei gymydog, y pendefig hwnw, yn adrodd hanes Crist yn iachâu ei fab ef, heb ddyfod yn agos ato (Ioan iv. 46—53); canys "ffydd sydd trwy glywed, &c." (Rhuf. x. 17.) Yr oedd pawb, ond y canwriad yma, yn rhoddi pwys mawr ar bresenoldeb corfforol Crist, ac yn meddwl fod yn angenrheidiol naill ai iddo ef ddyfod at y claf, neu i'r claf gael ei ddwyn ato ef, cyn y gallasai gyfranu iachâd. Ond yr oedd gan hwn ddigon o ffydd i ddweyd wrth yr Iesu "*yn unig dywed y gair, a'm gwas a iachêir. Canys dyn ydwyf finau dan awdurdod, a chenyf filwyr danaf: a dywedaf wrth hwn, Cerdda, ac efe a â; ac wrth arall, Tyred, ac efe a ddaw, &c.*" Er nad wyf fi ond swyddog israddol, y mae genyf ddigon o awdurdod ar y rhai sydd danaf, i beri iddynt wneuthur yr hyn a ewyllysiwyf, yn fy absenoldeb, a thra y byddaf fi yn eistedd ar yr aelwyd yn fy nhŷ, yr un fath â phe byddwn gyda hwynt; a llawer mwy y gelli di, yr hwn y mae iechyd, a chystudd, ac angeu, yn weision i ti, a'r hwn y mae pob awdurdod a gallu yn dy law, orchymyn i angeu sefyll draw, ac i'r clefyd ymadael, neu anfon angel i'w symud. Fel hyn y mae yn priodoli awdurdod a gallu diderfyn i'r saer tlawd o Nazareth.

II. Y GANMOLIAETH A RODDODD CRIST I'W FFYDD: "*A'r Iesu pan glybu, a ryfeddodd, ac a ddywedodd wrth y rhai oedd yn canlyn, Yn wir meddaf i chwi, Ni chefais gymaint ffydd, naddo yn yr Israel.*"

Nid oes hanes iddo ryfeddu at ddim ond dau beth, sef angrhediniaeth pobl Nazareth (Marc vi. 6), a ffydd y canwriad yma. Yr ydym yn y wyrth hon yn gweled ei deimladau fel dyn, a'i allu fel Duw. Y mae yn rhyfeddu fel y gwnelsai unrhyw ddyn arall wrth gyfarfod â pheth annysgwyliadwy. Y mae o bwys i ni ymdrechu sylweddoli y gwirionedd mawr ei fod yn wir a phriodol ddyn; oblegid y mae cadw golwg arno fel Brawd yn gymhorth i ymddiried ynddo fel Gwaredwr. Y peth a barai iddo ryfeddu a chanmol oedd gweled ffydd mor fawr gan y canwriad, dan yr holl anfanteision oedd yn perthyn iddo fel cenedl-ddyn, ac fel swyddog milwrol. Gweled y fath blanhigyn ffrwythlawn yn tyfu yn nghanol anialwch diffrwyth; a chael cnwd mor doreithiog ar faes oedd heb gael ond ychydig o'i drin a'i wrteithio. Mae henuriaid yr Iuddewon yn canmol *gweithredoedd* y canwriad; ond ei *ffydd* a ganmolir gan Grist, am mai ei ffydd oedd gwreiddyn ei holl rinweddau. "Mae ffydd wedi cadw rhai heb weithredoedd, megys y lleidr ar y groes, ac eraill, ond ni chadwodd gweithredoedd neb erioed heb ffydd."

"*Ac yr ydwyf yn dywedyd i chwi, y daw llawer o'r dwyrain a'r gorllewin, ac a eisteddant gyd âg Abraham, ac Isaac, a Jacob yn nheyrnas nefoedd.*" Hwn oedd y cenedl-ddyn cyntaf erioed a ddaeth at Grist i geisio unrhyw ffafr ganddo; ond y mae yr Iesu yn y geiriau hyn yn dweyd ei fod yn ysgub blaen-ffrwyth cynhauaf mawr, o gredinwyr o blith y Cenhedloedd, yn ngwahanol barthau y byd. "*Ond plant y deyrnas,*" y rhai a gawsant y manteision a'r breintiau mwyaf, "*a deflir i'r tywyllwch eithaf.*" Darlunir y nefoedd yn yr adnod flaenorol fel gwledd ardderchog, Byddai yr Iuddewon yn gyffredin yn cynal eu gwleddoedd yn y nos, mewn ystafelloedd wedi eu goleuo yn ysblenydd; ac yr

oedd y rhai a gauid allan mewn tywyllwch dudew. Felly y bydd yr annuwiol, nid yn unig yn colli dedwyddwch y nef ond mewn tywyllwch llygredigaeth, trueni, ac anobaith dros byth. Mae rhywbeth yn bruddaidd a dychrynllyd iawn mewn "tywyllwch eithaf." A fuost ti erioed yn meddwl, darllenydd, wrth fyned trwy *dwnnel* yn y gerbyd-res, beth mor ofnadwy fuasai bod mewn tywyllwch felly am ddiwrnod cyfan? Wel, cofia mai bod felly i dragywyddoldeb yw y desgrifiad a ddyry Crist yma o uffern.

"*A dywedodd yr Iesu wrth y canwriad, Dos ymaith; ac megys y credaist bydded i ti. A'i was a iachâwyd yn yr awr hono.*" Rheol yr Arglwydd yw rhoddi i ddynion yn ol eu ffydd: os llawer o ffydd, llawer o fendith; os ychydig o ffydd, ychydig o fendith; os dim ffydd, dim bendith. Ffydd yw y llestr i dderbyn o gyflawnder Crist, ac nid yw olew gras byth yn peidio rhedeg nes y byddo llestri ffydd yn pallu; fel y parhaodd olew y wraig weddw, yn amser Eliseus, i redeg tra yr oedd ganddi hi lestri i'w dderbyn.

Gall Crist iachâu ein heneidiau ninau, er ei fod yn anweledig, yr un modd ag yr iachâodd was y canwriad, yn yr amgylchiad hwn, heb i'r claf ei weled. "Bendigedig yw y rhai ni welsant, ac a gredasant." (Ioan xx. 29.) Gobeithio dy fod ti, a minau, ddarllenydd hoff, o'u nifer, ac y gellir dweyd am danom, "Yr hwn er nas gwelsoch, yr ydych yn ei garu; yn yr hwn, heb fod yr awrhon yn ei weled, ond yn credu, yr ydych yn mawr-lawenhau â llawenydd annhraethadwy a gogoneddus." (1 Pedr i. 8.)

# VIII.

## IACHAU Y CLAF O'R PARLYS.

"*Ac wele, hwy a ddygasant ato ŵr claf o'r parlys, yn gorwedd mewn gwely: a'r Iesu yn gweled eu ffydd hwy, a ddywedodd wrth y claf o'r parlys, Ha fab, cymer gysur; maddeuwyd i ti dy bechodau,*" &c.
MATH. ix. 1—8; [Gwel hefyd MARC ii. 1—12; LUC v. 18—26.]

NID yw Luc yn crybwyll yn mha le y gwnaed y wyrth hon; ond y mae Mathew yn ein hysbysu mai "*yn ei ddinas ei-hun*" yr oedd yr Iesu ar y pryd; ac y mae Marc yn dweyd wrthym mai Capernaum oedd y ddinas hono. Fel hyn dyrchafwyd Capernaum hyd y nef trwy fod yn gartref i'r Hwn a ddaeth i waered o'r nef. "*A chlybuwyd ei fod ef yn y tŷ,*" sef yn nhŷ Pedr, ond odid; modd bynag, dyna y farn gyffredin; eithr y mae Lange yn tybied fod ei fam a'i frodyr wedi symud o Nazareth i Capernaum (Marc iii. 21.) yn fuan wedi i'r Iesu ddechreu ar ei weinidogaeth gyhoeddus. Wedi i'r gair am ei ddyfodiad ymdaenu yn gyflym trwy y ddinas, dechreuodd y bobl ymdyru ato yn ddioed, nes yr aeth y tŷ, a'r cyntedd o flaen y drws, yn rhy fychan i'w cynwys. Yr oedd yno yn mhlith y gynnulleidfa lawer o Phariseaid a doctoriaid y gyfraith, wedi dyfod o bob pentref yn Galilea, ac hyd yn nôd o Judea a Jerusalem. (Luc v. 17.) Yr oedd y rhai hyn wedi dyfod yno fel ysbïwyr, dros y penaethiaid Iuddewig, i chwilio yn faleisus am ryw gyhuddiad i'w ddwyn yn erbyn yr Iesu, fel y gallent gael rhyw rith o esgus dros ei ddal a'i osod i farwolaeth, pan ddeuai i fynu y tro nesaf i Jerusalem, i wyl y Pasg. Yr oedd yno amryw gleifion hefyd wedi dyfod i geisio iachâd; "*ac yr oedd gallu yr Arglwydd i'w hiachâu hwynt.*" Ar ryw olwg yr oedd gallu yr Arglwydd i iachâu yn wastad yn mhob man lle byddai yr Iesu; canys yr oedd "holl gyflawnder y Duwdod yn preswylio yn gorfforol ynddo ef."

Ond ymddengys fod yr ymadrodd rhyfedd hwn yn golygu rhywbeth mwy na bod Crist yn bresenol yn y cyfarfod, a dichon mai ei ystyr yw—fod y Gwaredwr yn barotach nag arferol i roddi ei allu dwyfol ar waith i iachâu y diwrnod hwnw, am fod yno y fath gyfleusdra manteisiol iddo i gadarnhâu ei honiadau yn ngwydd y personau enwog a dylanwadol oeddynt wedi dyfod yno i'w wylio. Y mae y dyrfa yn parhâu i gynyddu nes llenwi yr heol o flaen y drws, ac y mae Crist yn pregethu y gair i gynifer ag a allent ei glywed. Y mae y rhai sydd yn myned heibio ar hyd yr heol yn sefyll wrth weled y dyrfa, ac yn clustfeinio i geisio dal ambell air a ddyferai dros wefusau yr Athraw mawr. Yn awr, wele bedwar o ddynion yn nesâu, gan gario un claf o'r parlys ar wely, neu lwth *(couch)*, ysgafn. Y maent yn ceisio ymwthio trwy y dyrfa, gan ddymuno ar y bobl gilio a gwneud lle iddynt fyned trwodd at yr Iesu; ond y maent yn gweled yn fuan fod yn anmhosibl iddynt fyned â'r fath faich i mewn trwy y drws, oherwydd y tyndra. Y maent yn gosod y gwely i lawr ar yr heol, ac yn ymgynghori â'u gilydd pa beth a wnaent. Yr oedd y claf ei hun yn hollol ddiffrwyth, fel nas gallai symud yr un o'i aelodau, na gwneud dim drosto ei hun, ond yr oedd ei synwyrau ganddo, ac yr oedd ei feddwl yn llawn pryder rhag ofn colli y cyfleusdra presenol i geisio iachâd. Y mae un o honynt—ac y mae yn dra thebygol mai y claf ei hun oedd hwnw—yn awgrymu y posiblrwydd o fyned ag ef i fynu i nen y tŷ, a'i ollwng i waered yn y gwely wrth raffau trwy y tô, i'r fan lle yr oedd yr Iesu. Y maent oll yn cytuno yn y fan i wneuthur felly. Nid oedd hyn yn beth mor anhawdd ag y gallai rhai anghyfarwydd â dull tai yn ngwledydd y dwyrain feddwl. Yr oedd nenau y tai yno yn wastad, a gollyngddor *(trap door)* ynddynt, a grisiau i fyned i fynu iddynt o'r tu allan. (Deut. xxii. 8; Math. xxiv. 17.) Wele y pedwar dyn yn myned â'r claf o'r parlys i nen y tŷ—yn agor y drws oedd yn y tô—ac yn tynu rhai o'r priddlechau, mor ofalus a dystaw ag y medrent, er mwyn

gwneud y drws yn fwy, fel y gallent ollwng y gwely i mewn trwyddo.* Y mae y gynnulleidfa yn edrych i fynu mewn syndod a dychryn wrth weled y gollyngddor yn cael ei agor, y pridd-lechau yn cael eu symud, a'r llwch yn disgyn, heb wybod yn y byd beth oedd yn bod; ac y mae yr Iesu yn rhoddi heibio lefaru, a chyda hyny dyma wely yn cael ei ollwng i lawr, yn araf ac yn esmwyth, wrth raffau trwy y tô, a rhyw druan diffrwyth yn gorwedd arno. Edrychai y claf i fynu yn bryderus yn ngwyneb yr Iesu, gan ofni cael ei geryddu ganddo am ei aflonyddu felly pan ydoedd ar ganol ei bregeth, ac am ddyfod ato mewn *dull* mor rhyfedd. Y mae yn dra thebygol hefyd ei fod wedi tynu yr anhwyldeb yr ydoedd dano arno ei hun trwy ryw bechodau neillduol y buasai yn euog o honynt, a'i fod yn ofni, oherwydd hyny, na wnai Crist ei iachâu; ac y mae lle i feddwl fod ei bechodau yn peri mwy o ofid iddo na'i afiechyd. Ond y mae Crist yn tawelu ei ofnau, trwy edrych yn siriol arno, a'i anerch yn dirion a charedig, gan ddywedyd wrtho, "*Ha fab, cymer gysur, maddeuwyd i ti dy bechodau.*" Y mae Crist yn ymddangos yn y wyrth hon mewn cymeriad dyddorol iawn, a gorlawn o galendid a chysur i ni, bechaduriaid, sef fel Maddeuwr. Y mae yr hanes yn dangos:—

* "Yr oedd y cwbl yn ddyfais ddisymwth dynion cyffredin, yn hollol gynefin â didoi eu tai er mwyn gollwng ŷd, gwellt, a phethau eraill iddynt, megys y gwnant eto yn y wlad hon.—Y defnyddiau a arferir yn awr at y tô ydyw trawstiau tua thair troedfedd oddiwrth eu gilydd, ar draws y rhai y mae prenau byrion wedi eu gosod yn agos y naill at y llall, ac yn cael eu gorchuddio â brysglwyni tewlon. Dros hyn dodir caenen o gymrwd lled galed, ac yna y clai neu y pridd sydd yn gwneud y tô. Yn awr y mae yn hawdd symud un rhan o hwn heb niweidio y gweddill. Ni wnelsai perchenogion y tŷ gan hyny unrhyw wrthwynebiad ar y cyfrif hwnw i'w hymddygiad. Nid oedd eisieu iddynt ond crafu yn ol y pridd oddiar ran o'r tô oedd dros y cyntedd, cymeryd i fynu y prysglwyni a'r prenau byrion, a gollwng y gwely i lawr rhwng y trawstiau wrth draed yr Iesu. Wedi cyrhaedd eu hamcan gallent yn fuan adfer y tô megis ag yr oedd o'r blaen. Yr wyf fi yn tueddu i feddwl, pa fodd bynag, nad oedd y tô, o leiaf dros y cyntedd wedi ei wneuthur o bridd, ond o ryw ddefnyddiau haws eu codi ymaith. Dichon nad ydoedd ond math o *fat* garw fel muriau a thô bythod y Tyrciaid, neu dichon ei fod o fyrddau o goed, neu lechau cerig (ac mi a welais y cyfryw) y gellid eu symud yn gyflym. Yr oll sydd yn angenrheidiol i ni, pa fodd bynag, i'w wybod ydyw fod y tô yn wastad, yn isel, ac yn hawdd esgyn iddo, ac yn hawdd ei agoryd, ac y mae y pethau hyn oll yn cael eu gwneuthur yn gwbl ddealladwy trwy gydnabyddiaeth â'r tai cyffredin yn awr yn mhentrefi Palestina." "*The Land and the Book.*" By Dr. Thomson.

I. Y CYSYLLTIAD SYDD RHWNG FFYDD A MADDEUANT: "A'r Iesu *yn gweled eu ffydd hwy*, a ddywedodd wrth y claf o'r parlys, Ha fab, cymer gysur," &c.

Yr oedd yr Iesu yn gweled eu ffydd yn eu calonau, ac hefyd yn eu hymddygiadau. Yr oedd y drafferth a gymerasent i dori trwy bob anhawsderau i ddyfod ato yn dangos eu ffydd yn amlwg. Nid ei ffydd *ef* a ddywedir, ond eu ffydd *hwy*,—sef ffydd y claf ei hunan, a ffydd y cyfeillion caredig a'i dygasent ef yno. Arwydda hyn fod yn bosibl i ddyn gael lles trwy ffydd eraill. Nis gallasai y dyn yma druan byth ddyfod at yr Iesu o hono ei hunan, ac yr oedd yn dda iddo, gan hyny, fod ganddo gyfeillion oeddynt yn meddu ffydd gref yn ngallu a pharodrwydd Crist i iachâu, i'w gario ato. Yr oedd hwn yn fwy ffodus na'r dyn diffrwyth wrth lyn Bethesda, oedd yn cwyno nad oedd ganddo neb i'w fwrw i'r llyn, pan gynhyrfid y dwfr. (Ioan v. 7.) Bydded i ninau ddilyn esiampl y pedwar dyn caredig yma, trwy gario ein cyfeillion a'n cymydogion at y Gwaredwr yn ein gweddïau. Mae hanes y rhai hyn yn dangos fod gwir ffydd yn sicr o orchfygu pob rhwystrau, a thori trwy bob anhawsderau fyddo ar ei ffordd i ddyfod at Grist. Pwy a ŵyr pa faint o bellder yr oeddynt wedi cario y claf, pa faint o ddirmyg a gwrthwynebiadau a gyfarfuasent ar y ffordd, oddiwrth elynion Crist, a pha faint o lafur a thrafferth a gawsent i ollwng y gwely, a'r claf ynddo, i mewn ger bron yr Iesu? Rhaid fod ganddynt ffydd gref yn ngallu Crist cyn y buasent byth yn cymeryd y fath drafferth; ac y mae efe yn edrych gyda boddlonrwydd a chymeradwyaeth ar eu ffydd.

Ond er cymaint o werth i'r claf, ac er mor gymeradwy yn ngolwg Crist, oedd ffydd y pedwar dyn oedd yn ei gario, eto y mae yn sicr fod y claf ei hunan yn meddu ffydd ddiffuant, onide ni buasai ei bechodau yn cael eu maddeu. Gallasai ffydd ei gyfeillion, ond odid, gael iachâd corfforol iddo; ond yr oedd yn rhaid iddo feddu ffydd bersonol mewn trefn i gael maddeuant. Mae yn debyg nad oedd y rhai

a'i carient yn amcanu at ddim ond ei iachâd oddiwrth y parlys yn unig; ond yr oedd y claf ei hunan yn fwy awyddus a hiraethlawn am waredigaeth oddiwrth ei bechodau nag oddiwrth ei anhwyldeb a'i gystudd corfforol. Gallasai ddweyd, fel y Salmydd, "Da i mi fy nghystuddio;" canys yr oedd ei gystudd wedi deffro ei gydwybod, a'i ddwyn i feddwl am ei bechodau, nes yr oedd baich euogrwydd bron a'i lethu. Ond yr oedd yn credu y medrai Crist faddeu ei holl anwireddau, yn gystal â iachau ei holl lesgedd; a chan fod ganddo "edifeirwch tuag at Dduw, a ffydd tuag at ein Harglwydd Iesu Grist," y mae ei holl bechodau yn cael eu llwyr ddileu. Y mae yn rhaid meddu ffydd cyn y ceir maddeuant: "I hwn y mae yr holl broffwydi yn dwyn tystiolaeth, y derbyn *pawb a gredo* ynddo ef faddeuant pechodau, trwy ei enw ef. Fel y derbyniont faddeuant pechodau, a chyfran yn mysg y rhai a sancteiddiwyd, *trwy y ffydd sydd ynof fi.*" (Act. x. 43; xxvi. 18.) Y mae ffydd yn Nghrist mor angenrheidiol ag aberth Crist er maddeuant. Rhaid i ddyn gael llygad yn ei ben, gystal a haul yn y ffurfafen, mewn trefn i weled goleuni dydd; ac fel na wna yr haul oleuo y dyn sydd heb lygad i dderbyn ei oleuni, felly hefyd ni cheidw iawn Crist neb heb ffydd ynddo: "Yr hwn sydd yn credu yn y Mab y mae ganddo fywyd tragywyddol: a'r hwn sydd heb gredu i'r Mab ni wêl fywyd; eithr y mae digofaint Duw yn aros arno ef." (Ioan iii. 36.) "Dy *ffydd* a'th gadwodd," ebe yr Iesu wrth y bechadures fawr hono yn nhŷ Simon. Nid dy ddagrau, na'th gariad, na'th ostyngeiddrwydd, ond "dy *ffydd* a'th gadwodd; dos mewn tangnefedd." (Luc vii. 50.)

II. Awdurdod Crist i weinyddu maddeuant.

Yr oedd yr ysgrifenyddion a'r Phariseaid, oeddynt yn bresenol, yn tybied ei fod yn euog o gabledd wrth honi awdurdod i faddeu; ond fe brofodd Crist iddynt, trwy wneud peth yn eu gŵydd nad oedd neb ond Duw a allasai ei wneuthur, fod yr awdurdod oruchel hon ganddo, er nad ydoedd ond dyn cyffredin o ran ei ymddangosiad allanol.

Yr oedd ei awdurdod i faddeu yn seiliedig ar ddwyfoldeb ei Berson. Yr oedd athrawiaeth y Pharisëaid yn hollol gywir—mai Duw yn unig a all faddeu pechodau—y casgliad a dynent oddiwrth yr athrawiaeth,—sef fod Crist yn cablu, oedd yn gyfeiliornus. Gwir fod gan weinidogion Crist awdurdod i *gyhoeddi* maddeuant, yn ei enw, i'r gwir edifeiriol. (Ioan xx. 23.) Ond i Dduw yn unig, yn wreiddiol a phenderfynol, y perthyn yr awdurdod i faddeu. Mae efe yn honi hawl yn yr awdurdod hon fel ei uchelfraint neillduol ei hun: "Myfi, myfi yw yr hwn a ddilëa dy gamweddau, er fy mwyn fy hun, ac ni chofiaf dy bechodau. (Esaiah xliii. 25.) Fel nad oes gan neb hawl i faddeu dyled ond yr hwn y byddis yn ei ddyled, felly hefyd nid oes gan neb hawl i faddeu pechod ond yr hwn y mae pechod yn wrthryfel yn ei erbyn. Efe yn unig sydd yn adnabod y galon hefyd, ac yn gwybod pwy sydd yn meddu edifeirwch a ffydd, ac felly yn gymhwys i dderbyn maddeuant. Pe na buasai Crist, gan hyny, yn "ddyn a'r Duwdod ynddo'n trigo," buasai, fel y cyhuddai ei elynion ef, yn euog o gabledd wrth honi awdurdod i faddeu pechodau, yn ei enw ei hun. Ond profodd yn amlwg ei fod yn Berson dwyfol, trwy ddangos ei fod yn Hollwybodol, ac yn Hollalluog. Yn gyntaf, *Efe a amlygodd ei Hollwybodaeth:* "*Ac yn ebrwydd, pan wybu yr Iesu yn ei ysbryd eu bod hwy yn ymresymu felly ynddynt eu hunain, efe a ddywedodd wrthynt, Paham yr ydych yn ymresymu am y pethau hyn yn eich calonau?*" Dangosodd yma ei fod yn gweled y galon, ac "yn gwybod beth sydd mewn dyn." Tarawyd y Pharisëaid yn ddïau â syndod dirfawr, wrth ei glywed yn medru darllen eu meddyliau dirgelaidd fel hyn; canys gwelent yn eglur, oddiwrth hyn, y rhaid ei fod yn rhywun mwy nag yr oeddynt hwy wedi meddw. Uchelfraint berthynol i Dduw yn unig ydyw adnabod a chwilio y galon. Yn ail, *Efe a amlygodd ei Hollalluogrwydd:* "*Pa un sydd hawsaf, ai dywedyd wrth y claf o'r parlys, Maddeuwyd i ti dy bechodau; ai dywedyd, Cyfod, a chymer i fynu dy wely, a rhodia?*" Mae yn deilwng

o sylw neillduol, mai *nid* gofyn pa un ai maddeu pechodau y claf, ai ei iachâu oedd yr hawsaf, y mae Crist; canys yr oedd y naill o'r pethau hyn mor anhawdd â'r llall, ac yr oedd yn rhaid cael gallu dwyfol i wneud pob un o'r ddau. Ond y cwestiwn oedd, fel y sylwa Trench * yn dra phriodol, pa un hawsaf ai honi awdurdod i faddeu, ai honi gallu i iachâu? "Pa un sydd hawsaf, ai *dywedyd* wrth y claf o'r parlys, Maddeuwyd i ti dy bechodau; ai *dywedyd*, Cyfod, a chymer i fynu dy wely, a rhodia?" Yn awr, y mae yn ddigon eglur i bawb, ar foment o ystyriaeth, fod yn llawer haws i dwyllwr honi awdurdod i faddeu, na honi gallu gwyrthiol i iachâu, am fod maddeuant yn beth anweledig, ac felly ni byddai perygl i'r twyll gael ei ddynoethi. Edrychai y Phariseaid ar eu gilydd, gan ysgwyd eu penau, a dywedyd ynddynt eu hunain, "Hawdd y gall y cablwr hwn honi ei fod yn maddeu pechodau y claf yma druan. Gall unrhyw dwyllwr, fyddo yn ddigon rhyfygus i wneuthur hyny, fyned ar hyd a lled y wlad, a dweyd wrth hwn a'r llall, *Maddeuwyd i ti dy bechodau.* Ond pa le y mae y prawf fod ganddo yr awdurdod oruchel y mae yn honi hawl iddi? Gŵyr yn dda ei fod yn awr yn gosod ei hun yn ddyogel allan o gyrhaedd ymchwiliad, gan fod yn anmhosibl i neb wybod pa un a ydyw pechodau y dyn wedi eu maddeu ai peidio. Ond pe buasai ganddo allu dwyfol, fel y mae yn honi, buasai yn sicr o roddi prawf gweledig i ni o hyny trwy iachâu y dyn druan oddiwrth ei barlys." Yn debyg i hyn yr ymresymai y Phariseaid yn eu calonau pan apeliodd yr Iesu atynt, gan ofyn iddynt, "Paham yr ydych yn ymresymu am y pethau hyn yn eich calonau?" Yr ydych chwi yn dweyd, ynoch eich hunain, fod yn llawer haws i mi honi awdurdod i faddeu i'r dyn, na honi gallu i'w iachâu. Ond mi brofaf fi yn eglur i chwi yn awr fod genyf awdurdod i gyflawni y weithred ddwyfol *anweledig* ar ei enaid, trwy gyflawni gweithred ddwyfol arall *weledig* ar ei gorff: "*Eithr fel y gwypoch fod gan Fab y dyn awdurdod*

* Gwel "*Trench's Notes on the Miracles.*"

*ar y ddaear i fuddeu pechodau, (eb efe wrth y claf o'r parlys.) Yr wyf yn dywedyd wrthyt, Cyfod, a chymer dy wely, a dos i'th dŷ.*" A chyda y gair, wele y dyn oedd y foment flaenorol yn hollol ddiffrwyth, yn cyfodi i fynu wedi ei iachâu mewn corff ac enaid; a chael gwaredigaeth ar unwaith oddiwrth ei bechodau a'i barlys: "*Ac yn y man y cyfododd efe i fynu yn eu gŵydd hwynt; ac efe a gymerth yr hyn y gorweddai arno, ac a aeth ymaith i'w dŷ ei hun, gan ogoneddu Duw.*" Y gwely oedd yn ei gario ef yno; ond y mae efe yn ddigon cryf i gario ei wely adref. Y mae yn naturiol dychymygu ei fod yn canu y drydedd Salm ar ol y ganfed, ar hyd y ffordd wrth fyned tuag adref: "Fy enaid bendithia yr Arglwydd; a chwbl sydd ynof ei enw sanctaidd ef. Fy enaid bendithia yr Arglwydd; ac nac anghofia ei holl ddoniau ef: yr hwn sydd yn maddeu dy holl anwireddau; yr hwn sydd yn iachâu dy holl lesgedd." Pwy a all ddesgrifio llawenydd ei deulu wrth ei weled yn dyfod adref yn iach? Priodol y gallasai y gynnulleidfa hefyd synu a gogoneddu Duw. Ond os oeddynt yn rhyfeddu cymaint wrth weled Crist yn cyfodi un claf â'i air o wely cystudd, beth fydd y syndod pan y gwelir ef yn cyfodi myrddiynau o feirw o'u beddau â'i air?

Yr oedd y wyrth yma yn profi yn eglur "*fod gan Fab y dyn awdurdod ar y ddaear i faddeu pechodau.*" Gan Dduw yn y nefoedd yr oedd yr awdurdod yma yn arfer bod; ond wele yr awdurdod oruchel hon o'r diwedd wedi dyfod i lawr o'r nefoedd i'r ddaear; ac yn cael ei meddiannu gan rywun sydd yn galw ei hun yn "Fab y dyn"—wele awdurdod i faddeu i ddynion gan un yn natur y troseddwyr: "Hwn a ddyrchafodd Duw â'i ddeheulaw, yn Dywysog, ac yn Iachawdwr, i roddi edifeirwch i Israel, a maddeuant pechodau." (Act. v. 31.)

Y sail ar ba un y mae y Gwaredwr yn gweinyddu maddeuant i bechaduriaid yw ei aberth ei hun; "Yn yr hwn y mae i ni brynedigaeth *trwy ei waed ef*, sef maddeuant pechodau, yn ol cyfoeth ei ras ef." (Eph. i. 7.) Gan ei fod

wedi dwyn ein pechodau ni, yn ei gorff ei hun ar y pren, ac wedi ymddangos "i ddileu pechod trwy ei aberthu ei hun," y mae ganddo hawl, ar dir cyfiawnder, i ddatod y cysylltiad sydd rhwng pechod a phoen; ac i ryddhâu yr euog, ar ei edifeirwch, oddiwrth y gosp ddyledus am ei gamweddau. Yr oedd gwaith Crist yn iachâu cyrff dynion yn dangos ei *hawl*, yn gystal a'i *allu*, i waredu pechaduriaid oddiwrth y felldith a ddygasai pechod arnynt.

III. Y MEDR CRIST RODDI SICRWYDD I'R MADDEUEDIG FOD EI BECHODAU WEDI EU MADDEU: "A'r Iesu yn gweled eu ffydd hwy, a *ddywedodd wrth y claf o'r parlys*, Ha fab, cymer gysur; *maddeuwyd i ti dy bechodau.*"

Yn awr, y mae yn eglur y gallasai Crist faddeu pechodau y dyn yma, heb ddweyd wrtho yn bendant ei fod yn gwneuthur hyny. Ond yr oedd y Gwaredwr am iddo gael y cysur o *wybod* fod ei bechodau wedi eu maddeu. Ac er nad ydym ni i ddysgwyl iddo ddweyd wrthym, trwy lais o'r nef, fod ein pechodau wedi eu maddeu, eto fe fedr ef ddweyd hyny wrth eneidiau ei bobl, trwy ei Ysbryd, ac ni ddylai neb fod yn dawel a boddlawn heb y dystiolaeth werthfawr hon. Y mae gan yr Arglwydd drefn nid yn unig i faddeu, ond hefyd i roddi boddlonrwydd i'r pechadur fod ei bechodau wedi eu maddeu: "Y mae yr Ysbryd hwn yn cyd-dystiolaethu â'n hysbryd ni, ein bod ni yn blant i Dduw." (Rhuf. viii. 16.) Medr yr Ysbryd Glan, fel *ambassador* y Brenin mawr, roddi hysbysrwydd yn llys y galon ar y ddaear, o'r hyn sydd yn cymeryd lle yn llys y nef. Y mae Thomas Adams yn dweyd yn ei *Private Thoughts*, ei fod ef yn teimlo mor sicr fod ei bechodau wedi eu maddeu, â phe buasai yr Arglwydd yn anfon angel o'r nef â thystiolaeth ysgrifenedig iddo o hyny. Mor werthfawr yw y fath sicrwydd dymunol! Pwy na weddïai fel y Salmydd, "Dywed wrth fy enaid, Myfi yw dy iechydwriaeth?" (Salm xxxv. 3.)

IV. Y SEILIAU SYDD GAN Y MADDEUEDIG I YMGYSURO: "Ha fab, *cymer cysur*; Maddeuwyd i ti dy bechodau."

Nid oes gan yr annuwiol sail resymol i fod yn gysurus

hyd yn nod yn nghanol y llawnder mwyaf o bob cysuron daearol; oblegid "y mae digofaint Duw yn aros arno ef." "Nyni a ddylem ofidio," medd Robert Hall," oherwydd anystyriaeth y dyn hwnw a allai ddifyru ei hun â danteithion gwledd, tra y byddai cleddyf noeth yn hongian uwch ei ben, yn cael ei ddal gan flewyn yn unig; sefyllfa beryglus yr hwn, er hyny, nid yw yn ddim mewn cymhariaeth â bod am bob moment yn agored i ddigofaint Duw." Ond y mae gan y maddeuedig achos i ymgysuro yn mha amgylchiadau bynag y byddo; oblegid y mae yn ddyogel byth rhag colyn angeu, a damnedigaeth dragwyddol. Nid yw maddeuant yn dyogelu rhag gwïalen y Tad, ond y mae yn dyogelu rhag cleddyf y Barnwr. Gall y maddeuedig gael ei geryddu a'i gystuddio, ond y mae mor ddyogel rhag ei ddamnio â phe byddai eisoes yn y nefoedd. Y mae yn heddwch a ffafr Duw; caiff ei anrhydeddu yn lle ei gondemnio yn y farn; a'i wneud yn berffaith ddedwydd byth yn ngwlad y purdeb. Y mae bod yn gardotyn maddeuedig yn annhraethol well na bod yn frenin heb faddeuant. "Gwyn ei fyd y neb y maddeuwyd ei drosedd, ac y cuddiwyd ei bechod: &c." (Salm. xxxii. 1, 2.)

V. Fod maddeuant yn sicrhau perffaith ryddhad oddiwrth holl ganlyniadau pechod. Yr oedd hyn yn cael ei ddangos trwy waith Crist yn llwyr iachâu y dyn yma oddiwrth ei anhwyldeb corfforol, ar ol maddeu ei bechodau. Pechod yw yr achos o bob cystudd a phoen; ac y mae lle i feddwl fel y sylwyd, fod afiechyd y dyn yma yn ffrwyth rhyw bechodau neillduol o'i eiddo, a'i fod yntau yn ymwybodol o hyny. Ond y mae Crist wrth faddeu iddo yn symud yr *achos* o'i anhwyldeb, ac wrth ei iachâu yn dileu *effeithiau* ei bechod. Nid yw yr Arglwydd yn rhyddhâu pawb sydd yn derbyn maddeuant yn *ddioed* oddiwrth effeithiau a chanlyniadau eu pechodau, fel y gwnaeth yn yr amgylchiad hwn; ond y mae maddeuant yn ernes a gwystl, i bawb sydd yn cael y fendith, o gorff perffaith iach yn y man: "Ac ni ddywed y preswylydd, Claf ydwyf: maddeuir

anwiredd y bobl a drigant ynddi." (Esaiah xxxiii. 24.) Yr oedd gwaith y claf o'r parlys yma yn cyfodi o'i wely yn berffaith iach, ar air Crist, yn rhyw awgrym a chysgod o'r adgyfodiad dedwydd sydd i ddilyn maddeuant. Caiff y saint ar ol bod yn gorwedd mewn anmharch a gwendid gyfodi o wely oer y bedd, y bore hwnw, mewn nerth a gogoniant, a'u gwisgo ag anfarwoldeb ac anllygredigaeth. Cyfnewidir eu cyrff gwael hwy i fod yr un ffurf â chorff gogoneddus eu Gwaredwr. (Phil. iii. 21.)

Mor ddiolchgar y gweddai i ni fod am y gallwn ninau, fel y claf yma, gael maddeuant, a hwnw yn faddeuant rhad, cyflawn, a thragywyddol. Os oedd gan Grist awdurdod i faddeu pechodau pan ydoedd yma ar y ddaear, yn ei gyflwr o ddarostyngiad, y mae yn sicr fod yr awdurdod hon ganddo yn awr ar orsedd y nef. Pe buasai efe yn bresenol yn rhywle yn y gymydogaeth lle yr ydym yn byw, fel yr ydoedd yn Capernaum y pryd hwn, a fuasai ddim yn werth genym fyned ato i geisio maddeuant? Ond y *mae* efe yma yn ein hymyl, ond ei fod yn anweledig, ac y mae yn llawer haws i ni fyned ato nag oedd i'r claf hwn fyned ato. Y mae "yn dysgwyl i drugarhâu" wrthym. Bydded i ni gan hyny fyned ato yn hyderus, a hyny yr awr hon: "Cymerwch eiriau gyda chwi, a dychwelwch at yr Arglwydd: dywedwch wrtho, Maddeu yr holl anwiredd; derbyn ni yn ddaionus: a thalwn i ti loi ein gwefusau." (Hos. xiv. 2.)

## IX.

# IACHAD Y DYN CLAF WRTH LYN BETHESDA.

"*Ac yr oedd rhyw ddyn yno, yr hwn a fuasai glaf namyn dwy flynedd deugain. Yr Iesu, pan welodd hwn yn gorwedd, a gwybod ei fod ef felly yn hir o amser bellach, a ddywedodd wrtho, A fynni di dy wneuthur yn iach?*" *&c.* IOAN v. 1—16.

YR ydym yn yr adnod gyntaf o'r bennod hon yn cael hanes yr Iesu yn myned i fynu i Jerusalem, i un o wyliau yr Iuddewon. Mae gwahanol farnau yn mhlith esbonwyr o berthynas i'r cwestiwn pa wyl oedd hon, pa un ai y Pasg, y Pentecost, neu y Purim ydoedd; ond y peth tebycaf yw mai gwyl y Pasg ydoedd, sef yr ail Basg ar ol i'r Iesu ddechreu ar ei weinidogaeth gyhoeddus. Yr oedd ganddo amcan deublyg wrth fyned i fynu i'r wyl. Un amcan oedd cydymffurfio â gofyniadau y ddeddf seremonïol, yr hon oedd eto heb ei dilëu:—"Tair gwaith yn y flwyddyn," meddai y gyfraith hon, "yr ymddengys pob gwrryw o honot o flaen yr Arglwydd dy Dduw, yn y lle a ddewiso efe; ar wyl y bara croyw (y Pasg), ac ar wyl yr wythnosau, ac ar wyl y pebyll." (Deut. xvi. 16.) Yr amcan arall oedd cael cyfleusdra i gyhoeddi geiriau y bywyd tragywyddol i'r miloedd a ddeuent yn nghyd i'r wyl, o wahanol barthau o'r wlad. Mae dau beth wedi gwneud yr ymweliad hwn o eiddo yr Iesu â Jerusalem yn dra hynod,—sef y wyrth ryfedd a gyflawnwyd ganddo ar y dyn claf yma wrth lyn Bethesda, a'r bregeth nodedig y bu y wyrth yn achlysur o honi, yn yr hon y mae yn gosod allan ei gydraddoldeb â'r Tad yn y modd mwyaf eglur, a phendant.

Lle rhyfedd oedd y man y cyflawnwyd y wyrth hon, sef llyn Bethesda: "Ac y mae yn Jerusalem wrth farchnad," neu yn hytrach "wrth *borth* y defaid" (Neh. iii. 1.), "lyn a elwir yn Hebraeg Bethesda," yr hyn a arwydda, "Tŷ

trugaredd." Gelwid y llyn felly, ond odid, ar gyfrif yr iachâd a gyfranai Duw o'i drugaredd i'r cleifion trwyddo. Yr oedd yn perthyn i'r llyn yma "bum' porth." Pendistiau, neu rodfëydd colofnog, a thô uwch eu penau, i gysgodi y cleifion rhag yr oerfel a'r gwres oedd y pyrth hyn. Dywedir fod yn y pum' porth yma "lïaws mawr o rai cleifion, deillion, cloffion, gwywedigion, *yn dysgwyl am gynhyrfiad y dwfr. Canys angel oedd ar amserau yn disgyn i'r llyn ac yn cynhyrfu y dwfr: yna yr hwn a elai i mewn yn gyntaf ar ol cynhyrfu y dwfr, a äi yn iach o ba glefyd bynag a fyddai arno.*"* Mae hanes am ffynnonau dyspeidiol *(intermittent springs)* mewn gwahanol wledydd, hyny yw, ffynnonau a'u dyfroedd yn bwrlymu ac yn berwi i fynu yn ddisymwth, dan wneud cryn drwst, ar amserau neillduol, ac yna yn peidio. Cynhyrfir y dwfr yn y ffynnonau hyny trwy waith nwy *(gas)* yn dianc allan o honynt. Ond dywedir mai gan angel yr oedd dwfr y llyn yma yn cael ei gynhyrfu. Nid yw yn debygol fod yr angel yn arfer ymddangos, ond yr oedd cynhyrfiad y dwfr yn arwydd gweledig o'i ddisgyniad. Mae yn ffaith dra hynod fod un o'r angelion yn cael ei alw gan Ioan yn angel y dyfroedd (Dat. xvi. 5); ac y mae lle i feddwl fod gan y bodau gogoneddus hyn lywodraeth eang ar elfenau natur. Mae yn debyg fod ganddynt ryw law yn llawer o'r trugareddau a fwynheir genym; a dichon fod mwy o bethau yn cael eu gwneud ganddynt yn y byd yma nag a feddyliasom erioed. Nid oedd yn swydd rhy

* Mae amryw feirniaid ysgrythyrol yn barnu na chafodd yr adnod hon ei hysgrifenu gan Ioan, ond mae ychwanegiad diweddarach ydyw, gan ei bod yn eisieu mewn rhai hen lawysgrifau tra chyfrifol. Tybiant iddi gael ei hysgrifenu i ddechreu ar ymyl y ddalen, fel datganiad o'r farn gyffredin yn nghylch y peth, ac mai rhyw gopïwr a'i gosododd i mewn yn y testun. Ond y mae yn haws cyfrif am ei habsenoldeb o rai hen lawysgrifau, nag ydyw gwrthbrofi y dystiolaeth sydd o'i phlaid. Mae y cyd-destunau yn arwyddo yn gryf ei bod hi yn rhan o'r bennod; canys byddai adn. 7fed yn hollol annealladwy hebddi. Dadleua rhai yn erbyn yr adnod am fod y wyrth a adroddir ynddi yn beth *annhebygol;* ond atolwg, a ydym i ymwrthod a phob peth yn y Beibl sydd yn ymddangos i ni yn annhebygol? O'm rhan fy hun, y mae y rhesymau a ddygir o blaid yr adnod yn ymddangos i mi lawer yn gryfach na'r rhai a gynygir yn ei herbyn. Ond pe gellid profi yn benderfynol y dylid ei thynu allan, ni effeithiai hyny ddim ar hanes y wyrth a gyflawnodd ein Hiachawdwr ar y dyn claf.

wael gan angel sanctaidd, adael ei orsedd a'i delyn, a dyfod i gynhyrfu dwfr y llyn yma, er mwyn i un o'r cleifion, oeddynt ar ei làn, gael iachâd. Fe ellid meddwl mai yn awr ac eilwaith y byddai hyn yn cymeryd lle; ac felly na wyddai neb pa bryd y disgynai yr angel, pe amgen ni buasai achos i'r cleifion aros yno yn barhâus, "i ddysgwyl am gynhyrfiad y dwfr." Yr oedd llaw oruwchnaturiol Duw yn amlwg yn y peth; canys "*ar amserau*" yn unig yr oedd rhinwedd iachäol yn y dwfr; *un* yn unig oedd yn cael ei iachâu ar y tro, a hwnw y *cyntaf* a elai i mewn ar ol cynhyrfu y dwfr; ac yr oedd hwnw yn myned yn iach mewn mynyd, "o *ba glefyd bynag* a fyddai arno." Nid yw yn hysbys pa bryd y dechreuodd, na pha bryd y darfyddodd rhinwedd gwyrthiol y llyn yma. Yr ydoedd yn rhyw gysgod gwanaidd o ddyfroedd bywiol yr iechydwriaeth; ond y mae y Ffynnon a agorwyd i bechod ac aflendid yn dirfawr ragori arno; canys nid y cyntaf a ddelo i mewn i hon yn unig sydd yn cael ei iachâu, ond *pob un* a ymdreiglo iddi; ac nid oes eisieu i ni ychwaith aros i ddysgwyl am gynhyrfiad y dwfr; canys y mae y Gwaredwr yn barod i'n derbyn yn awr, a threfn gras yn ei rhinwedd bob amser. "Deuwch; canys weithian y mae pob peth yn barod."

Y mae y Gwaredwr, tra yn Jerusalem ar yr wyl, yn myned rhwng amser yr addoliadau ar y Sabboth, i làn llyn Bethesda, i blith y cleifion, ac yn hyn "efe a adawodd i ninau esiampl fel y canlynem ei ol ef," trwy ymweled â'r cleifion. "*Ac yr oedd rhyw ddyn yno yr hwn a fuasai glaf namyn dwy flynedd deugain.*" Ymddengys mai y parlys oedd anhwyldeb hwn, a'i fod wedi colli grym ei aelodau, ac er nad ydoedd yn hollol analluog i symud, eto nis gallai ond ymlusgo yn hynod o arafaidd, a hyny hefyd gyda llawer o drafferth a phoen. Yr ydoedd wedi bod yn ddiffrwyth felly am y cyfnod maith o ddeunaw mlynedd ar hugain. Ni ddywedir iddo dreulio yr holl amser yma wrth y llyn; ond ymddengys ei fod wedi bod yno yn hir, ac wedi gwneud llawer cynyg at fyned i'r llyn, pan gynhyrfid y

dwfr, ond yn aflwyddianus bob tro; ac eto nid ydoedd wedi llwyr anobeithio a rhoddi i fynu, gan ddywedyd, "Wel, wel, nid yw o un dyben i mi aros yma yn hŵy; nid oes gobaith i mi am iachâd; gwell i mi fyned adref i farw yno yn mhlith fy nghyfeillion, yn hytrach nag aros yma i farw mewn lle o'r fath hyn." Na, y mae yn parhâu i ymdrechu am iachâd er pob digalondid, a bu yn dda iddo ei fod wedi gwneuthur felly, canys y mae ei ddyfalbarhâd yn cael ei wobrwyo o'r diwedd â iachâd gwyrthiol. Dyma esiampl i ninau i ddyfalbarhâu yn yr ymarferiad â phob moddion o ras, gan ddysgwyl wrth yr Arglwydd. Ni ddylem lwfrhâu a diffygio am na byddo ein gweddïau yn cael eu hateb, a'n dymuniadau yn cael eu cyflawni yn ddioed; ond ein dyledswydd yw parhâu i ymarfer yn gyson a diwyd â'r moddion a drefnodd Duw i achub, a phenderfynu peidio gadael porth trugaredd doed a ddelo: "Gwyn ei fyd y dyn a wrandawo arnaf, ac a wylio yn ddyfal beunydd wrth fy nrysau, gan warchod wrth byst fy mhyrth i." "Da yw gobeithio a dysgwyl yn ddistaw am iechydwriaeth yr Arglwydd." (Diar. viii. 34; Galar. iii. 25.)

Y mae yr Iesu wrth rodio yn mhlith y cleifion, ar làn y llyn, yn dyfod at un—y mwyaf gresynus ei gyflwr o honynt oll, ond odid—ac yn sefyll uwch ei ben, gan edrych arno gyda llygad llawn o dosturi. Paham y dewisodd hwn, a hwn yn unig, o blith y lliaws, fel gwrthddrych ei drugaredd, nis gwyddom. Nid oes genym ond priodoli y peth i'w Benarglwyddiaeth: "Mi a drugarâf wrth yr hwn y trugarhâwyf, ac a dosturiaf wrth yr hwn y tosturiwyf." (Exod. xxxiii. 19.) Dyma engraifft o "etholedigaeth yn ei gwaith," chwedl Williams o'r Wern; ac y mae un peth yn amlwg iawn yn yr amgylchiad,—sef nad oedd yr Iesu, wrth iachâu hwn, yn gwneuthur unrhyw anghyfiawnder na cham â'r lleill. "*Yr Iesu pan welodd hwn yn gorwedd, a gwybod,*" ynddo ei hun, heb i neb ddweyd dim wrtho am dano, "*ei fod ef felly yn hir o amser bellach, a ddywedodd wrtho, A fynni di dy wneuthur yn iach?*" Cwestiwn hollol afreidiol, fe ellid

meddwl, ar yr olwg gyntaf; canys pa le y gwelwyd dyn claf erioed na buasai yn hoffi cael ei wneuthur yn iach? Ond yr oedd dybenion pwysig i'r cwestiwn. Y mae Crist yn ei ofyn i ddangos ei gydymdeimlad; i dynu sylw y claf ato; ac i greu dysgwyliad a gobaith yn ei fynwes am iachâd, pan oedd ei obaith fel gwreichionen wan bron a diffodd, oherwydd hir barhâd ei anhwyldeb, ac aflwyddiant ei holl ymdrechion am wellhâd; oblegid "gobaith a oeder a wanha y galon." Y mae Crist yn gofyn eto i ninau, yn yr efengyl, fel i'r dyn yma, "A fynwn ni ein gwneuthur yn iach?" Nid yw yn achub neb heb gydsyniad eu hewyllys; ac y mae yn gorfod cwyno uwch ben llawer, gan ddywedyd, "*Ni fynwch* chwi ddyfod ataf fi, fel y caffoch fywyd." (Ioan v. 40.) Y mae y Gwaredwr yn "gadarn i iachâu;" ac yn anfeidrol barod i wneuthur hyny; ond nid yw pechaduriaid, y mae yn rhyfedd dweyd, yn barod i gymeryd eu hiachâu. Hoffent gael eu gwaredu, y mae yn wir, oddiwrth *ganlyniadau* pechod—y cywilydd, yr euogrwydd, yr ofn, a'r trueni tragywyddol, sydd yn gysylltiedig ag ef; ond nid ydynt yn dewis ymadael â'r *pechod ei hun.* Ni fynant "roddi heibio bob pwys, *a'r pechod sydd barod i'w hamgylchu,*" &c. Mae Augustine yn cyfaddef, y byddai efe yn arfer gweddio, cyn ei droedigaeth, er mwyn tawelu ei gydwybod, am gael ei achub oddiwrth ei bechodau, ac eto fod ei gariad at bechod mor gryf, fel yr oedd arno ofn yn ei galon i Dduw ei wrando, a'i gymeryd ar ei air. Mae eraill drachefn, a hoffent gael eu hiachâu oddiwrth bechod pe gallent gael eu gwneuthur mor sanctaidd ag angelion ar unwaith; a hyny heb fawr o drafferth iddynt eu hunain. Ond nid ydynt yn foddlawn i dreulio bywyd o ryfel parhaus yn erbyn pechod: carent gael eu hachub; ond nid yn nhrefn ac amser Duw. Nid ydynt fel y dyn yma wrth lyn Bethesda yn hiraethu am iachâd. Gwyddai yr Iesu fod hwn felly, er iddo ofyn, o herwydd y rhesymau a grybwyllwyd, "A fyni di dy wneuthur yn iach?"

Yn lle rhoddi atebiad uniongyrchol i'r cwestiwn, y mae

y claf yn rhoddi adroddiad torcalonus o'i ymdrechion aflwyddianus i gael iachâd: "*Y claf a atebodd iddo, Arglwydd, neu Syr, nid oes genyf ddyn i'm bwrw i'r llyn, pan gynhyrfer y dwfr: ond tra fyddwyf fi yn dyfod arall a ddisgyn o'm blaen i.*" Mae yn debyg ei fod yn rhy dlawd i dalu i neb am ei gynnorthwyo, a dichon nad oedd ganddo gyfaill a wnai y fath gymwynas iddo am ddim, neu os oedd ganddo ychydig o geraint a chyfeillion tlodion, fe allai fod yn anhawdd i neb o'r rhai hyny aros gydag ef yn ddibaid, am hir amser, "i ddysgwyl am gynhyrfiad y dwfr." "*Yr Iesu a ddywedodd wrtho, Cyfod, cymer dy wely i fynu, a rhodia.*" Gorchymyn rhyfedd onide i ddyn diffrwyth? Gallesid meddwl fod yn berffaith anmhosibl iddo wneud yr hyn oedd Crist yn ei orchymyn. Ond yn lle myned i ddadleu ei anallu, a gofyn, "Pa fodd y gall fy math i gyfodi a rhodio? Pe gallaswn wneuthur hyny, ni welsid mo honof fi yn y fan yma heddyw." Na, fe gredodd y dyn fod nerth yn cydfyned â gair Crist, am hyny, y mae yn ymdrechu ufuddhâu, ac y mae yn cael ei alluogi i wneuthur hyny. Felly y dylem ninau wneud; ac y mae Crist yn sicr o roddi nerth i'r rhai a ymddiriedant ynddo i gyflawni yr hyn oll a orchymynir ganddo. Yn hyn y mae ei orchymynion yn gwahaniaethu oddiwrth orchymynion y ddeddf. Yr oedd y ddeddf yn gorchymyn ufudd-dod heb roddi dim cymhorth i bechadur i ufuddhâu; ond y mae Crist yn rhoddi gras a nerth i wneud ei orchymynion: "Yr wyf fi yn gallu pob peth trwy Grist yr hwn sydd yn fy nerthu i." (Phil. iv. 13.)

Y mae yr Iesu yn gorchymyn i'r dyn godi ei wely yn arwydd ei fod wedi ei berffaith iachâu, ac hefyd er mwyn gwneud y wyrth yn adnabyddus; canys byddai gweled dyn yn cario unrhyw faich ar ei ysgwydd, trwy heolydd y ddinas, ar y Sabboth, yn sicr o dynu sylw mawr, a pheri llawer o siarad ac ymholi. A dyna oedd dyben yr Iesu wrth gyflawni y wyrth ar y Sabboth, er mwyn iddo ef gael achlysur i ddyfod wyneb yn wyneb â'r llywodraethwyr, ac i ddweyd yn eglur wrth benaethiaid yr Iuddewon pwy ydoedd, fel y caent bob mantais

i'w adnabod, ac y byddent yn holl ddiesgus os gwrthodent ef. Gwyddai y dyn y byddai yn debyg o gael ei alw i gyfrif, ac mewn perygl o gael ei fflangellu, os nid ei labyddio, gan yr Iuddewon, am godi ei wely ar y Sabboth, ac eto y mae yn gwneuthur hyny, mewn ufudd-dod i orchymyn ei Iachawdwr caredig a Hollalluog: "*Ac yn ebrwydd y gwnaed y dyn yn iach; ac efe a godod ei wely, ac a rodiodd.* Tramgwyddodd rhai o'r Phariseaid yn ddirfawr wrth y dyn am gario ei wely ar y Sabboth, am y tybient ei fod trwy hyny yn halogi y dydd sanctaidd: "*Am hyny yr Iuddewon a ddywedasant wrth yr hwn a wnaethid yn iach, Y Sabboth yw hi: nid cyfreithlawn i ti godi dy wely.*" Gwir fod y proffwyd Jeremiah yn dweyd, "Ac na ddygwch faich allan o'ch tai ar y dydd Sabboth." (Jer. xvii. 22.) Ond cario beichiau yn eu hymdriniaeth â'u gorchwylion tymhorol oedd gair Duw yn ei wahardd. Nid oedd dim yn groes i gyfraith y Sabboth, ond ei hesbonio yn gywir, yn ngwaith y dyn yma yn cario ei wely; canys nid oedd hyn yn waith yn ystyr briodol y gair, ac o'r fath ag oedd y gyfraith yn ei wahardd, ond peth cysylltiedig â'r iachâd ydoedd. Y mae atebiad y dyn yn hynod o synwyrlawn a phriodol: "*Efe a atebodd iddynt, Yr hwn a'm gwnaeth i yn iach, efe a ddywedodd wrthyf, Cyfod dy wely a rhodia.*" Yr oedd y dyn yn casglu y rhaid fod gan yr hwn oedd a gallu i'w iachâu, awdurdod i orchymyn iddo gyfodi ei wely. Fel pe dywedasai, "Y mae y person yma wedi profi yn eglur, trwy y wyrth a wnaeth arnaf fi, ei fod yn broffwyd wedi dyfod oddiwrth Dduw, ac nis gallasai y cyfryw broffwyd orchymyn dim sydd yn groes i air Duw." Y mae yr Iuddewon yn gofyn yn faleisus i'r dyn, nid pwy ai gwnaethai ef yn iach, yr oeddynt yn amheu mai yr Iesu oedd awdwr y weithred, ond y maent yn yn gofyn yn ddirmygus, "*Pwy yw y dyn a ddywedodd wrthyt ti, Cyfod dy wely a rhodia. A'r hwn a iachasid ni wyddai pwy oedd efe. Canys yr Iesu a giliasai o'r dyrfa oedd yn y fan hono.*" Tra bu y dyn yn plygu i godi ei wely, fe giliodd yr Iesu o'r golwg yn y dyrfa, cyn i'r claf gael amser i ofyn iddo beth oedd ei enw, na diolch iddo am ei iachâu.

"*Wedi hyny yr Iesu a'i cafodd ef yn y deml.*" Aeth yno fel Hezeciah ar ol gwella o'i glefyd (Esaiah xxxvii. 19. 22), i addoli Duw, ac i ddiolch am ei iachâu. Y mae yn ddyledswydd ar y rhai a adferwyd o gystudd, ac a ryddhawyd oddiwrth bechod, ddilyn ei esiampl yn hyn; ac ond gwneuthur hyny byddant yn debyg o gael eu gwobrwyo, fel yntau yn nhŷ yr Arglwydd, â golwg ar Grist, ac adnabyddiaeth helaethach o hono. Ni byddai y Gwaredwr byth yn boddloni ar iachâu cyrff dynion yn unig, heb ymdrechu gwneud lles i'w heneidiau hefyd, ac am hyny, y mae yn cyfarfod â'r dyn yma yn y deml, ar ol y wyrth, ac yn dweyd wrtho, "*Wele ti a wnaethpwyd yn iach: na phecha mwyach rhag dygwydd i ti beth a fyddo gwaeth.*" Ymddengys yn debygol, oddiwrth y geiriau hyn, mai ei bechodau a'i anghymedroldeb yn nyddiau ei ieuenctyd, oedd wedi tynu ar y dyn y cystudd maith a phoenus y buasai dano; ac y mae yr Iesu wrth gyfeirio at hyny, yn rhoddi ar ddeall iddo ei fod yn berffaith gyfarwydd â'i hanes, fel y gwnaethai gyda'r wraig o Samaria o'r blaen. (Ioan iv. 17, 18, 29). Rhywbeth ofnadwy iawn oedd bod yn y cyflwr y buasai y truan yma ynddo am ddeunaw mlynedd ar hugain; ond y mae Crist yn ei rybuddio i ochel pechu mwyach rhag i beth gwaeth na hyny ddygwydd iddo. "Peth gwaeth" yn y byd hwn; canys nid oes yma neb mor druenus nad allai hi fod yn waeth arno. "Peth gwaeth" yn y byd a ddaw; canys beth yw bod ar wely cystudd am agos i ddeugain mlynedd wrth fod yn nhân uffern yn oes oesoedd?

Wedi i'r dyn gael y cynghor pwysig hwn gan yr Iesu, y mae yn gofyn i rywun a safai gerllaw, gan gyfeirio ei fys at yr Iesu, "Pwy yw hwna?" "Dyna Iesu o Nazareth, y Proffwyd mawr y mae cymaint o son am dano trwy y wlad y dyddiau hyn," oedd yr ateb. "*Y dyn a aeth ymaith, ac a fynegodd i'r Iuddewon, mai yr Iesu oedd yr hwn a'i gwnaethai ef yn iach;* gan ddysgwyl, yn symlrwydd a diniweidrwydd ei galon, y buasent yn parchu ac yn anrhydeddu y Gwaredwr, oblegid ei allu a'i ddaioni; ond yr un peth fuasai

iddo ddysgwyl i adar y nos lon-groesawu pelydrau dysglaer a thanbaid yr haul. "*Am hyny yr Iuddewon a erlidiasant yr Iesu, ac a geisiasant ei ladd ef, oblegid iddo wneuthur y pethau hyn ar y Sabboth.*" Yr oedd ei elynion yn arfer ei gyhuddo o dori y Sabboth, trwy iachâu y cleifion, a'i amddiffyniad cyffredin iddo ei hun oedd,—fod ei wyrthiau yn weithredoedd o drugaredd, ac yr oedd gweithredoedd o angenrheidrwydd, ac o drugaredd yn gyfreithlawn ar y Sabboth, yn ol eu haddefiad hwy eu hunain. Ond yma y mae yn sefyll ar uwch tir o lawer i amddiffyn ei hun. Y mae yn hòni yma ei fod yn gydradd, neu yn ogyfuwch, â Duw, ac felly fod ganddo yr un hawl i weithio ar y Sabboth ag sydd gan Dduw ei hun :* "*Ond yr Iesu a'u hatebodd hwynt, Y mae fy Nhad yn gweithio hyd yn hyn, ac yr ydwyf finau yn gweithio.*" "Er fod fy Nhad wedi gorphwys y seithfed dydd oddiwrth ei waith creadigol, eto y mae yn cynal ac yn llywodraethu y greadigaeth yn ddiorphwys bob dydd er dechreuad y byd; ac y mae yn peri i'r haul godi, y gwynt chwythu, y cymylau wlawio, y ffynnonau darddu, yr afonydd lifo, y gwellt dyfu, a'r gwaed gylch-redeg ar y Sabboth, fel diwrnod arall; ac y mae genyf finau yr un awdurdod i weithio ar y Sabboth ag sydd gan fy Nhad, gan fy mod yn meddu yr un priodoleddau dwyfol." "*Am hyny, yr Iuddewon a geisiasant yn fwy ei ladd ef, oblegid nid yn unig iddo dori y Sabboth,*" yn ol eu barn hwy, "*ond hefyd iddo ddywedyd fod Duw yn Dad iddo, gan ei wneuthur ei hun yn gystal â Duw.*" Mynent ei fod, wrth honi y fath berthynas oruchel â Duw, yn euog o chwanegu y pechod o gabledd, at y pechod o halogi y Sabboth. Ond pa beth y mae Crist yn ei wneuthur yn ngwyneb hyn? Ai dweyd eu bod wedi cam ddeall ei eiriau, ac nad oedd efe, wrth alw Duw yn Dad, yn bwriadu gosod ei hun allan fel Person dwyfol? Nage; ond yn lle hyny, y mae yn myned rhagddo i ail wneud yr

* "Yr ydoedd wedi dangos pan yn Jerusalem flwyddyn yn ol ei fod yn Arglwydd ar y deml (Ioan ii. 13—17); ac yn awr y mae yn dangos ei fod yn Arglwydd ar y Sabboth hefyd." *Ellicott.*

honiad goruchel oedd wedi rhoddi y fath dramgwydd iddynt. Os nad oedd Iesu Grist yn ddim ond dyn da yn unig, pa fodd, atolwg, na buasai yn dangos i'r Iuddewon eu bod wedi gwneuthur camgymeriad pwysig wrth dybied ei fod ef yn honi ei hun yn Dduw? ac nad oedd efe mewn un modd yn hawlio unoliaeth natur," ac yn gwneuthur ei hun yn gystal â Duw," fel yr haerent hwy, wrth alw Duw yn Dad iddo? Y mae yn ymddangos yn eglur ei fod ef yn bwriadu iddynt ddeall ei eiriau yn yr ystyr y gwnaethant; onide buasai yn dweyd yn amgen wrthynt. Yr oedd ei weinidogaeth yn Judea yn awr ar derfynu. Oherwydd y bwriad ysgeler oedd wedi ei ffurfio gan ei elynion i'w ladd y mae yn penderfynu cilio i Galilea, gan "na ddaethai ei awr ef eto." Ond y mae yn dangos yn amlwg, trwy ei weithredoedd a'i eiriau, cyn gadael Jerusalem, pwy ydoedd, fel na byddai gan yr Iuddewon, os parhaent i'w wrthod, le i ddweyd nad ydoedd wedi datguddio ei gymeriad yn ddigon eglur iddynt: "Oni bai fy nyfod a llefaru wrthynt ni buasai arnynt bechod: ond yr awrhon nid oes ganddynt esgus am eu pechod." (Ioan xv. 22.)

# X.

## IACHAU Y LLAW WEDI GWYWO.

"*Ac wedi edrych arnynt o amgylch yn ddigllawn, gan dristâu am galedrwydd eu calon hwynt, efe a ddywedodd wrth y dyn, Estyn allan dy law. Ac efe a'i hestynodd: a'i law ef a wnaed yn iach fel y llall.*"
MARC iii. 5. [MATH. xii. 10—14; LUC vi. 6—12.]*

Y MAE pechod yn aml yn ymdrechu cuddio ei hagrwch drwy ymdrwsio yn mantell rhinwedd. Dywed yr apostol fod "satan yn ymrithio yn angel goleuni." (2 Cor. xi. 14); a'r un modd y mae dynion sydd dan lywodraeth satan, yn fynych yn ceisio cuddio eu teimladau a'u hamcanion drygionus drwy broffesu rhyw ddyben da. Felly yr ydym yma yn cael hanes y Phariseaid yn erlid yr Iesu a'i ddysgyblion dan yr esgus o ddwyn sêl dros sancteiddiad y Sabboth. Yr oedd y dysgyblion, wrth fyned gyda'u Hathraw un bore Sabboth, trwy gae o ŷd, ar eu ffordd i'r, neu o'r synagog, wedi tynu ychydig dywysenau aeddfed, a'u rhwbio rhwng eu dwylaw," "*am fod arnynt chwant bwyd.*" Ni feiddiai eu gwrthwynebwyr feio arnynt am dynu y tywysenau; oblegid yr oedd y gyfraith a roddasai Duw i Israel yn caniatâu iddynt wneuthur hyny:—"Pan ddelych i ŷd dy gymydog, yna y cei dynu y tywysenau â'th law; ond ni chei osod cryman yn ŷd dy gymydog." (Deut. xxiii. 25.) Ond am dynu y tywys *ar y Sabboth* yr oedd y Phariseaid yn achwyn ar y dysgyblion: haerent eu bod trwy hyny yn halogi y dydd sanctaidd. Eithr fe brofodd Crist yn eglur, trwy amryw esiamplau a rhesymau, fod yr hyn a wnaethent yn hollol gyfreithlawn. Ni ddarfu iddo gymeryd tramgwydd a sefyll draw o'r synagog fel y gwna llawer o ddynion, am fod yno y fath genfigen a gelyniaeth tuag ato; ond efe a aeth drachefn "*i'w synagog hwynt*" y Sabboth dilynol.

* Ymddengys mai yn Capernaum y cyflawnwyd y wyrth hon.

"*Ac yr oedd yno ddyn a chanddo law wedi gwywo.*" Dywed Luc wrthym mai ei "*law ddehau*" oedd felly. Mae yn debygol fod braich y dyn nid yn unig wedi ei tharo a'r parlys, ond fod y gewynau hefyd wedi crino a chrebachu, fel yr oedd y fraich nid yn unig yn hollol ddiffrwyth, ond hefyd yn curio ac yn lleihau yn raddol. Yr oedd dynion yn cael eu taro â'r anhwyldeb hwn yn hynod o sydyn a dirybudd, a'r fath oedd ei effeithiau dychrynllyd, ar yr hwn a darewid, fel os byddai braich y dyn i lawr wrth ei ochr, ar y pryd, nis gallai ei chodi na'i hestyn; ac os byddai yn dygwydd bod yn estynedig allan, ni allai ei phlygu na'i thynu ato, fel y gwelir yn hanes y brenin annuwiol Jeroboam: "A phan glybu y brenin air gŵr Duw, yr hwn a lefodd efe yn erbyn yr allor yn Bethel, yna Jeroboam a estynodd ei law oddiwrth yr allor, gan ddywedyd, Deliwch ef. A diffrwythodd ei law ef yr hon a estynasai efe yn ei erbyn ef, fel na allai efe ei thynu hi ato." (1 Bren. xiii. 4).

Y mae llaw dyn yn un o'r pethau sydd yn ei wahaniaethu oddiwrth yr anifail. Pwy a fedr draethu gwerth a defnyddioldeb y llaw ddynol? Hi sydd yn arloesi y diffaethwch, ac yn ei droi yn feusydd cnydfawr, yn berllanau ffrwythlawn, yn barciau hyfryd, ac yn erddi blodeuog a pharadwysaidd. Hi sydd yn adeiladu dinasoedd poblog, ar y llanerchau gwylltion lle yr arferai bwystfilod rheibus grwydro wrth eu hewyllys, heb neb i'w haflonyddu. Hi sydd yn darparu ein gwisgoedd a'n tai; a'i gwaith hi yw ein llongau, ein pontydd, ein cledr-ffyrdd, a'n holl beirianau defnyddiol a chywrain. Ei chynyrchion hi yw holl balasau a themlau y ddaear, a chanddi hi y paentiwyd yr holl ddarluniau ysplenydd, ac yr ysgrifenwyd yr holl lyfrau gwerthfawr sydd yn y byd. Ni byddai meddwl i gynllunio fawr o werth i ddyn heb law hefyd i gyflawni y cynlluniau. Pwy wrth ystyried ei gwerth a'i defnyddioldeb, a all beidio rhyfeddu a chlodfori doethineb a daioni yr hwn a'i luniodd?

Ond yr oedd llaw y dyn yma yn y synagog wedi gwywo; ac felly, er ei bod hi yn hongian yn farw wrth ei ochr, nid

ydoedd o un gwasanaeth na defnydd iddo. Yr oedd y dyn, gan hyny, yn analluog i weithio, ac yn dra diddefnydd i'w deulu a'r gymydogaeth, mor bell ag yr oedd unrhyw lafur corfforol yn myned. Dywed traddodiad mai "saer maen" ydoedd wrth ei gelfyddyd; ond beth bynag oedd ei alwedigaeth, nid ydoedd yn alluog i'w dilyn. Yr ydym yn cael ynddo ddarlun tra chywir o gyflwr ysbrydol dyn trwy bechod. Mae cyneddfau a galluoedd naturiol yr enaid yn aros, fel yr oedd braich y dyn yma yn hongian wrtho; ond y maent wedi myned yn weiniaid a diffrwyth tuag at yr hyn sydd yn ysbrydol dda; ac fel y mae dyn wedi myned yn hollol ddiddefnydd, mor bell ag y mae gwasanaethu Duw, a gwneud lles ysbrydol i'w gyd-dynion, yn myned. Mae llawer yn eglwys Dduw, fel y dyn yma yn y synagog, a'u dwylaw wedi gwywo—rhyw bechod neu gilydd yn atal, ac yn dinystrio eu defnyddioldeb. Ond y mae Crist wedi dyfod i'r byd, fel yr awgryma y wyrth hon, i adferu i ni y nerth a gollasom trwy bechod; ac i symud ymaith y pethau sydd yn ein luddias i wneuthur daioni.

Y mae lle i feddwl mai y Parisëaid, yn eu dichell a'u malais, oedd wedi perswadio y dyn yma i ddyfod i'r synagog y bore hwnw, er nad oeddynt, mae yn debyg, wedi dweyd dim wrth y dyn am eu hamcan maleisus. Gwyddent y byddai yr Iesu yn dra thebyg o fod yn y synagog, am hyny y maent yn dyfod â'r dyn yno, ac yn ei osod mewn lle amlwg, fel y byddai yn sier o dynu sylw y Gwaredwr. "*A'r ysgrifenyddion a'r Pharisëaid a'i gwyliasant ef, a iachâi efe ef ar y dydd Sabboth; fel y caffent achwyn yn ei erbyn ef. Eithr efe a wybu eu meddyliau hwynt, ac a ddywedodd wrth y dyn oedd â'i law wedi gwywo, Cyfod i fynu, a saf yn y canol. Ac efe a gyfododd i fynu, ac a safodd.*" Ond cyn i'r Iesu iachâu y llaw wywedig y mae ei wrthwynebwyr yn gofyn iddo, medd Mathew, "*Ai rhydd iachâu ar y Sabbothau?*" Efe a atebodd y cwestiwn, fel y byddai yn arfer yn aml, trwy ofyn cwestiwn arall iddynt hwythau: "*Yr Iesu, am hyny, a ddywedodd wrthynt, Myfi a ofynaf i*

*chwi, Beth sydd gyfreithlawn ar y Sabbothau? gwneuthur da, ynte gwneuthur drwg? cadw einioes, ai colli?*" Ymddengys mai y gwirionedd pwysig a ddysgir gan Grist yn y geiriau hyn yw—fod *peidio* gwneuthur da, pan yn cael cyfleusdra i hyny, yr un peth â gwneuthur drwg:—"Am hyny i'r neb a fedr wneuthur daioni, ac nid yw yn ei wneuthur, pechod ydyw iddo." (Iago iv. 17.) Ond tybia rhai mai ystyr y gofyniad yma o eiddo Crist i'w elynion oedd hyn:—"Pa un ai *myfi*, wrth iachâu cleifion, ynte *chwi*, wrth gynllunio bradwriaeth yn erbyn fy mywyd i, sydd yn euog o halogi y Sabboth?" Yna y mae yn myned rhagddo i ddangos na buasent hwy eu hunain yn petruso gwneud pethau, yr oedd llawer llai o reswm dros eu gwneuthur, nag oedd dros iachâu cleifion ar y Sabbothau: "*Ac efe a ddywedodd wrthynt, Pa ddyn o honoch fydd a chanddo un ddafad, ac o syrth hono mewn pwll ar y dydd Sabboth, nid ymeifl ynddi, a'i chodi allan? Pa faint gwell gan hyny ydyw dyn na dafad?*" Y mae yn annhraethol well. Gwir fod llawer o'r creaduriaid direswm yn rhagori ar ddyn mewn rhyw bethau; nid yw efe yn meddu cyflymdra y march, na nerth yr elephant, a thra y mae yr eryr yn gallu ymgodi ar ei aden gref i entrych awyr, y mae dyn yn gorfod ymlwybro yn flinderog ar hyd wyneb y ddaear. Ond y mae yr enaid rhesymol ac anfarwol sydd mewn dyn yn ei wneuthur yn annhraethol bwysicach a gwerthfawrocach na hwynt oll. Felly os yw yn gyfreithlawn gwneud trugaredd ag anifail ar y Sabboth, trwy ei godi o'r pwll, rhaid ei bod yn gyfreithlawn gwneud trugaredd â dyn—Arglwydd y greadigaeth—trwy ei iachâu. Dyna oedd ymresymiad Crist, ac nis gallai ei elynion ei ateb. "*A hwy a dawsant â sôn.*" Cauwyd eu genau, ond ni waghâwyd eu calonau o'r genfigen a'r malais oedd ynddynt; ac nid oedd eu distawrwydd digofus ond rhywbeth tebyg i'r tawelwch trymaidd sydd yn aml mewn natur o flaen ystorm ddychrynllyd o fellt a tharanau; canys yr ydym yn cael iddynt fyned allan o'r synagog yn ddioed ar ol y wyrth, ac "*ymgynghori yn ebrwydd gyda'r Herodianiaid yn ei erbyn ef,*

*pa fodd y difethent ef.*" Wedi eu gorchfygu trwy ei ymresymiad, nes eu gyru yn hollol fud, y mae yr Iesu "*yn edrych arnynt o amgylch yn ddigllawn, gan dristâu am galedrwydd eu calon hwynt.*" Pa beth, yr addfwyn Waredwr yn "edrych yn ddigllawn!" Ië, ddarllenydd hynaws, dyna fel y dywedir yma. Y mae perygl i ti a minau gymeryd golwg rhy unochrog ar ei gymeriad, trwy edrych ar ei dosturi a'i gariad yn unig, nes anghofio y medr efe ddigio yn gystal â charu. Ond "gwêl yma ddaioni a thoster" y Duw ddyn. Mae y ffaith i'r Iesu "edrych yn ddigllawn," yn profi yn eglur nad yw y teimlad o ddigofaint ynddo ei hun yn bechadurus. Nid cynhyrfiad y dwfr, ond yr anmhuredd yn y gwaelod sydd yn ei lwydo, ond yr oedd cynhyrfiad teimladau Crist yn debyg i gynhyrfiad dwfr glân mewn llestr aur, yr hwn sydd yn parhâu mor ddysglaer â'r grisial er ei ysgwyd, tra y mae cynhyrfiad ein teimladau ni yn gyffredin yn debyg i gynhyrfiad dwfr mewn pydew aflan, yn sicr o ddwyn llawer o lygredd i'r golwg. Camp fawr yw digio heb bechu. Dywed llawer mai y ffordd i hyny ydyw peidio digio wrth *berson* y pechadur, ond wrth ei *bechod* yn unig. Ond 'does bosibl mai dyna oedd meddwl yr apostol; canys pe felly, byddai raid i ni gredu ei fod yn ein hanog i ymgymodi â phechod cyn nos, ar ol digio wrtho, pan y dywedai, "na fachluded yr haul ar eich digofaint chwi." (Eph. iv. 26.) Ymddengys i mi mai y ffordd i ddigio heb bechu yw—gochelyd digio i'r fath raddau nes teimlo awydd i ddïal—gofalu am beidio digio un amser heb achos cyfreithlawn—a pheidio cadw digofaint yn hŵy nag y dylid. Mae digofaint yn reddf naturiol mewn dyn; ac y mae yn rhaid fod rhyw ddiffyg pechadurus yn y dyn hwnw a fedro edrych ar weithredoedd o greulondeb, a thwyll, ac anghyfiawnder, heb deimlo digofaint sanctaidd yn llosgi yn ei fynwes. Nid yw y cyfryw yn debyg i Grist, canys sonir yma am dano ef yn "edrych yn ddigllawn," ar y Phariseaid rhagrithiol oeddynt o'i amgylch. Gochelwn ryfygu ar ei dynerwch a'i drugaredd cofiwn

y medr efe fod yn ddigllawn, a bod ei ddigofaint, fel ei gariad uwchlaw gwybodaeth: "Pwy a edwyn nerth dy soriant? canys fel y mae dy ofn y mae dy ddigter." (Salm xc. 11.) Y llafn gloywaf yw y mwyaf miniog, a'r digofaint sancteiddiaf yw y mwyaf ofnadwy. Pwy a ddichon sefyll pan ddêl dydd mawr ei ddigter ef? Bydd y rhai caletaf a chryfaf o'i elynion a'i wrthodwyr yn analluog i ddal ei edrychiad digllawn y diwrnod hwnw, am hyny, byddant yn dymuno ar i'r mynyddoedd a'r creigiau syrthio arnynt, a'u "cuddio o ŵydd yr hwn fydd yn eistedd ar yr orseddfainc, ac oddiwrth *lid yr Oen*." "Cusenwch y Mab, *rhag iddo ddigio*, a'ch difetha chwi o'r ffordd, pan gyneuo lid ef, ond ychydig. (Salm ii. 12; Dat. vi. 15—17.

Ond nid digofaint digymysg oedd yn mynwes sanctaidd y Gwaredwr tuag at ei elynion, ar yr achlysur hwn, canys dywedir iddo "edrych arnynt o amgylch yn ddigllawn, *gan dristâu am galedrwydd eu calon hwynt*." Tra yr oedd mellten digofaint yn chwareu ar amrant ei lygad, yr oedd deigryn tosturi, wrth feddwl am eu trueni, i'w weled yn nghornel ei lygad. Fel hyn y mae yn digio ac yn tosturio, ar unwaith, wrth yr un personau. Y mae lle i ofni mai anaml y byddwn ni yn gwneud hyn. Yr ydym ni yn dueddol iawn, naill ai o adael i'n digofaint ddiyspyddu ein tosturi; neu ynte o adael i'n tosturi ddiyspyddu ein digofaint. Yr ydym naill ai yn digio nes colli pob teimlad o dosturi tuag at y pechadur, oherwydd truenusrwydd ei gyflwr, neu ynte o'r ochr arall, yr ydym yn tosturio wrtho nes colli yr olwg ar ysgelerdra ac echryslonrwydd ei bechod. Ond y mae eisieu ymdrechu uno y ddau deimlad, yr un fath â'r Iesu. Yr oedd ei edrychiad ef yn dangos ei fod yn elyn penderfynol i bechod, ac ar yr un pryd yn gyfaill calon i bechadur.

Y mae yma nid yn unig edrychiad hynod o eiddo yr Iesu, ond *gorchymyn hynod* hefyd: "Ac wedi edrych arnynt o amgylch yn ddigllawn, gan dristáu am galedrwydd eu calon hwynt, *efe a ddywedodd wrth y dyn, Estyn allan dy law*."

Yr oedd llaw y dyn yn hollol ddiffrwyth, ac eto y mae Crist yn gorchymyn iddo ei hestyn allan. Felly y mae yn gorchymyn i ninau wneud pethau nad ydym yn alluog o honom ein hunain i'w cyflawni: "Gwnewch i chwi galon newydd, ac ysbryd newydd: &c." (Ezec. xviii. 31.) Yr ydym mor analluog i hyny, o honom ein hunain, ag ydym i greu byd newydd. "Hebof fi," ebe Crist, "ni ellwch chwi wneuthur dim." (Ioan xv. 5.) Ond y mae o'r pwys mwyaf i ni gofio fod ein hanallu ni i ufuddhâu i orchymynion yr Arglwydd yn hollol wahanol, o ran ei natur, i anallu y dyn yma i estyn allan ei law. Y mae anallu y pechadur mor *wirioneddol* ag anallu y dyn hwn; canys y mae Crist ei hun wedi dweyd, "Ni DDICHON neb ddyfod ataf fi, oddi eithr i'r Tad yr hwn a'm hanfonodd, ei dynu ef." (Ioan vi. 44.) Ond nid diffyg galluoedd *naturiol*, ond ei *bechod yn unig* sydd yn gwneud dyn yn analluog i ufuddhâu i orchymynion Crist. Nid yw ei anallu, gan hyny, mewn un modd yn diddymu ei gyfrifoldeb, ac yn esgusodi ei anufudd-dod.

Ond er fod y dyn yma yn y synagog mor analluog o hono ei hun i estyn allan ei law ag ydoedd i ehedeg, eto nid aeth efe i ddadlu ei anallu; ond efe a ymdrechodd ufuddhâu, gan gredu y byddai i'r hwn a roddodd y gorchymyn roddi nerth iddo hefyd i'w gyflawni; am hyny, "*efe a'i hestynodd: a'i law ef a wnaed yn iach fel y llall.*" Wrth i'r dyn ufuddhâu yr iachâwyd ei law; ac felly hefyd ar lwybr ufudddod y mae Crist yn iachâu eneidiau dynion. Ymdrechwn ninau wneud pa beth bynag a ddywedo efe wrthym ac ni bydd yr ymdrech yn ofer; canys "megys dy ddyddiau y bydd dy nerth." (Deut. xxxiii. 25.)

Mor hawdd a fuasai iddo ef yr hwn a iachâodd y llaw wywedig yma ddiffrwytho dwylaw ei groeshoelwyr, fel y gwnaeth y proffwyd hwnw yn Bethel â llaw ryfygus Jeroboam; ond ni ddefnyddiodd Crist ei allu gwyrthiol erioed i daro neb o'i elynion â barn; "canys ni ddaeth Mab y dyn i ddistrywio eneidiau dynion, ond i'w cadw." (Luc ix. 56.)

# XI.

## ADGYFODI MAB Y WEDDW O NAIN.

"*A bu dranoeth, iddo ef fyned i ddinas a elwid Nain; a chyd âg ef yr aeth llawer o'i ddysgyblion, a thyrfa fawr. A phan ddaeth efe yn agos at borth y ddinas, wele, un marw a ddygid allan, yr hwn oedd unig fab ei fam, a hono yn weddw: a bagad o bobl y ddinas oedd gydâ hi. A'r Arglwydd pan y gwelodd hi a gymerodd drugaredd arni, ac a ddywedodd wrthi, Nac wyla, &c.*" [Luc vii. 11—17.]

Yr ydym amryw weithiau wedi gweled ein Gwaredwr bendigedig yn rhoddi amlygiadau gogoneddus o'i allu dwyfol, trwy iachâu y clefydau a'r anhwylderau mwyaf anfeddyginiaethol, mewn mynydyn, a hyny heb ddefnyddio unrhyw foddion, ond ei air yn unig. Ond yma y mae yn gwneud rhywbeth mwy a rhyfeddach na iachâu pob math o gleifion, heb unrhyw drafferth nac ymdrech—y mae yn concro *angeu* ei hunan, ac yn cyfodi y marw yn fyw drachefn. Ymffrostia brenhinoedd a chadfridogion daearol yn aml yn eu buddugoliaethau ar faes y gwaed, ac yn eu medrusrwydd i *ddinystrio bywyd*; ond druain o honynt, gall bwystfil rheibus, neu awel wenwynig o wynt, neu wybedyn bychan ddinystrio bywyd. Gorchfygu angeu, a *rhoddi bywyd*, yw y gamp. Dyma ormod gorchest i ddyn nac angel. Nid oes neb ond y Creawdwr a ddichon adferu un math o fywyd—rhaid cael Hollalluowgrwydd i wneud hyn. Ond yr ydym yn y wyrth hon yn gweled un yn ein natur ni yn medru gwneud hyn. "*A bu dranoeth,*" sef dranoeth ar ol iachâu gwas y canwriad, yn Capernaum, fel yr ymddengys, "*iddo ef fyned i ddinas a elwid Nain.*" Dinas yn Galilea oedd Nain, yn sefyll ar lechwedd creigog, yn nyffryn prydferth a ffrwythlawn Esdraelon, ychydig i'r deau oddiwrth fynydd Tabor. Yr oedd safle y dref yn hynod o ddymunol, a'r golyfeydd o'i hamgylch yn nodedig o brydferth a swynol; a chan ei bod hi yn awr yn y gwanwyn, y mae yn sicr fod golwg baradwysaidd iawn

ar y wlad o amgylch Nain; ond yr oedd cysgodion prudd-aidd yr arch-elyn creulawn angeu yn cuddio holl brydferthion natur o olwg y weddw alarus y sonir am dani yma. Dim ond i angeu ymweled â'r palas ardderchog, sydd yn cael ei amgylchynu gan y gerddi a'r parciau prydferthaf, ac fe dry ei bresenoldeb a'i ymweliad digroesaw, y lle sydd yn ail i Eden gynt, yn ddiffaethwch digysur i'r teulu urddasol a phendefigaidd sydd yn preswylio yno.

Dyma yr unig grybwylliad sydd genym am Nain yn yr ysgrythyrau, a dichon mai hwn oedd yr unig dro i'r Iesu ymweled â'r dref; ond fe roddodd yr ymweliad hwn o'i eiddo enwogrwydd anfarwol ar y lle. Mae yn debyg mai ar ei daith i fynu i Jerusalem, i wyl y Pasg, yr ydoedd yn awr. Dywedir fod llawer o'i ddysgyblion, a thyrfa fawr, yn ei ddilyn. Fel yr oedd efe a'i ganlynwyr yn dringo i fynu y rhiw serth, gerllaw dinas Nain, y maent yn clywed swn galarnadau torcalonus yn dyfod i'w cyfarfod, ar edyn yr awel; a chyda hyny dyma orymdaith angladdol yn dyfod i'r golwg: "*A phan ddaeth efe yn agos at borth y ddinas, wele un marw a ddygid allan*, &c." Yr oedd yr Iuddewon yn arfer claddu eu meirw o'r tu allan i'w trefydd a'u dinasoedd. Y mae cyfarfyddiad yr Iesu â'r claddedigaeth yn ymddangos fel peth hollol ddamweiniol, ac felly yr ydoedd hefyd o du y weddw a'i chymydogion; canys nid oedd ganddynt hwy un dysgwyliad am gyfarfod y Gwaredwr ar y ffordd i'r gladdfa; ond yr oedd llaw rhagluniaeth yn trefnu yr holl amgylchiadau yn ddiarwybod iddynt hwy, ac yn eu dwyn oddiamgylch "yn ol arfaeth yr hwn sydd yn gweithio pob peth wrth gynghor ei ewyllys ei hun." Yr oedd yr olygfa a gyfarfu yr Iesu wrth borth Nain yn un nodedig o effeithiol. Fe ddylai yr olwg ar unrhyw gladdedigaeth effeithio yn ddwys ar yr edrychwyr bob amser; ond yr oedd amryw bethau yn cydgyfarfod yn y claddedigaeth hwn i'w wneud yn un tra phruddaidd a difrifol. *Claddedigaeth gŵr ieuanc ydoedd.* Mae angeu yn ymddangos yn ddigon ddychrynllyd pan yn lladd y baban bach sydd newydd

ddechreu byw, neu yr hen ŵr egwan a chrynedig sydd yn crymu tua'r bedd, dan bwysau y pedwar ugain mlynedd; ond y mae y gelyn arswydlawn yn ymddangos yn llawer mwy dychrynllyd pan y gwelir ef yn tori gŵr ieuanc i lawr yn nghanol ei gryfder a'i obeithion. Gocheled ieuenctyd yr ynfydrwydd a'r perygl o oedi parotoi erbyn marw; oblegid nid yw bod yn ieuanc, yn iach, ac yn heinyf, yn un sicrwydd nad yw angeu gerllaw. "Canys beth ydyw eich einioes chwi? Canys tarth ydyw, yr hwn sydd dros ychydig yn ymddangos, ac wedi hyny yn diflanu." (Iago iv. 14.) Yr oedd y gŵr ieuanc yma o Nain yn "*unig fab ei fam*" hefyd, medd yr hanes. Mae colli un plentyn allan o lawer yn brofedigaeth chwerw, ond y mae colli yr *unig* blentyn yn chwerwach o lawer drachefn. Pan y mae ar yr Ysbryd Glân eisieu cymhariaeth i osod allan y galar dwysaf y mae yn ei gyffelybu i alar am unig fab: "Gwna i ti gwynfan a galar tost, megis am unig fab." (Jer. vi. 26): "A mi a'i gwnaf fel galar am un mab." (Amos viii. 10): "Galarant hefyd am dano fel un yn galaru am ei unig-anedig." (Zech. xii. 10.) Unig fab *gwraig weddw* hefyd oedd y gŵr ieuanc hwn. Pe buasai ei phriod yn fyw buasai yn llawer haws iddi oddef y brofedigaeth chwerw o golli ei hunig fab. Ond yr oedd y gelyn creulawn angeu wedi myned â phriod ei mynwes oddiarni, a hyny, fe allai, pan oedd ei hunig blentyn yn ei fabandod. Bu mewn llawer o bryder a thrafferth yn magu ei bachgen hoff. Yr ydoedd yn ei weled yn ddarlun byw o'i dad, ac fel y tyfai i fynu yr oedd y tebygolrwydd yn myned yn fwy yn ei golwg o hyd. Daeth o'r diwedd yn ŵr ieuanc hawddgar a gobeithiol, ac yn alluog i lenwi lle ei dad, trwy weithio i gynal ei fam weddw. Perchid ef gan bawb a'i hadwaenai, ac yr oedd pob lle i ddysgwyl a gobeithio y byddai iddo gadw cartref cysurus i'w fam yn ei henaint a'i gweddwdod. Ond och! wele yr holl obeithion yn cael eu siomi gan angeu; a'r gŵr ieuanc addawol yn cael ei dori i lawr yn sydyn yn mlodeu ei ddyddiau; a heddyw dyma ei fam weddw yn gorfod hebrwng ei hunig fab i'r distaw fedd lle yr oedd ei dad yn gorwedd.

"*A'r Arglwydd pan y gwelodd hi, a gymerodd drugaredd arni.*" Nid oes yr un o'r Efengylwyr yn ymostwng i foddloni ein cywreinrwydd, trwy ddweyd wrthym pa fath *wynebpryd* oedd gan y Gwaredwr; ond y maent oll yn dangos yn eglur pa fath *galon* oedd ganddo. Dengys yr amgylchiad hwn mor llawn o dosturi a chydymdeimlad yw ei galon rasol ef. Ni bu neb yn ymbil ag ef ar ran y weddw alarus yma, ac ni bu hithau yn dweyd yr un gair wrtho drosti ei hun. Digon tebyg nad oedd hi yn ei adnabod. Ond cyffrôdd ymysgaroedd ei dosturi wrth ei gweled yn dilyn ei hunig fab, dan wylo tua'r gladdfa, a nesâodd ati, gan ddywedyd wrthi, mewn llais tirion, "*Nac wyla.*" Mae dynion yn aml yn dweyd hyn wrth rai mewn galar, a hyny heb gynyg rhoddi un rheswm i'r cyfryw dros iddynt beidio wylo. Ond yr oedd gan yr Iesu allu i sychu *ffynon* dagrau y weddw alarus hon; ac y mae ei waith yn gwneud hyny yn ernes y bydd iddo, ryw ddydd a ddaw, gyflawni yr addewid fendigedig hono, "Ac fe sych Duw ymaith bob deigr oddiwrth eu llygaid hwynt; a marwolaeth ni bydd mwyach, na thristwch, na llefain, na phoen ni bydd mwyach." (Dat. xxi. 4.) Edrychwch ar yr Iesu yn dyfod i gyfarfod y claddedigaeth, fel teithydd cyffredin, "yn ddiffygiol gan y daith." Nid oedd dim gwahaniaeth allanol rhyngddo â'r dynion oedd o'i amgylch, ac ni buasai neb yn dychymygu wrth edrych arno fod "agoriadau uffern a marwolaeth" yn hongian wrth ei wregys. Ond y mae yn nesu at yr elor, ac yn cyffwrdd â hi: "*a'r rhai oedd yn ei dwyn a safasant*" i gael gweled beth oedd efe yn fwriadu wneuthur, a chan dybied, fe allai, mai efe oedd y Proffwyd mawr yr oedd cymaint o son am dano trwy y wlad y dyddiau hyny. Y mae pob llygad yn awr yn craffu arno, gan ryfeddu beth oedd i gymeryd lle. Wedi iddynt ddodi yr elor i lawr, a symud y gorchudd oddiar wyneb y marw, "*efe a ddywedodd, Y mab ieuanc, yr wyf yn dywedyd wrthyt, Cyfod.*" Ac ar y gair wele y marw, er dirfawr syndod i'r holl dorf, yn "*cyfodi yn ei eistedd, ac yn dechreu llefaru.*" Fel hyn y mae Crist yn

deffro y marw ar ei elor, yn haws nag y gallwn ni ddeffro un ar ei wely o hûn cwsg. Nid yw fel Elias ac Eliseus, wrth adgyfodi y meirw, yn ymestyn ar y corff (1 Bren. xvii. 21; 2 Bren. iv. 34, 35); nac fel Pedr wrth adgyfodi Dorcas yn plygu ar ei liniau wrth yr elor i weddio (Act. ix. 40); dim ond yn unig dweyd "Cyfod," acwele y marw yn cyfodi yn y fan. Yn briodol y dywedai un pregethwr enwog, "fod angeu, yn yr amgylchiad hwn, fel llew creulawn yn cludo ei ysglyfaeth i'w ffau; ond dyma yr 'Adgyfodiad a'r Bywyd' yn ei gyfarfod ar y ffordd, ac wele y llew yn dychrynu, yn gollwng ei ysglyfaeth marw o'i safn yn fyw, ac yn ffoi."

"*Ac efe a'i rhoddes i'w fam.*" Yn lle myned â'r gŵr ieuanc gydag ef trwy y wlad, i'w ddangos fel amlygiad o'i allu dwyfol, y mae yn ei roddi i'w fam, i'w chynal a'i chysuro yn ei hen ddyddiau. Pwy a fedr ddesgrifio ei llawenydd a'i diolchgarwch wrth ei dderbyn? Y mae yn naturiol i ni ddychymygu ei gweled hi, a'i mab, ar eu gliniau ger bron yr Iesu yn ei addoli. Fel y rhoddodd efe y gŵr ieuanc hwn yn ol i'w fam wedi i'r gelyn creulawn angeu ei ddwyn oddiarni, felly y gwna efe â phawb o'i bobl, yn more yr adgyfodiad cyffredinol—rhydd eu ceraint a'u cyfeillion, sydd wedi eu cymeryd yn garcharorion gan angeu, yn ol iddynt, i beidio cael eu hysgaru i dragywyddoldeb mwy. Mor sicr a bod adgyfodiad i gymeryd lle fe fydd i berthynasau a chyfeillion duwiol gael llon-gyfarch eu gilydd eto, a chael eu hadferu i gymdeithas eu gilydd gan y Gwaredwr, ar ol eu gwahanu gan angeu. Dyma un o'r gwirioneddau cysurlawn a ddysgir i ni yn hanes y wyrth fawr hon. Ni ddylem, gan hyny, dristâu fel rhai heb obaith ar ol y rhai a hunasant yn yr Iesu. (1 Thes. iv. 14—18.)

Y mae yr hwn a adgyfododd y gŵr ieuanc yma o Nain, yn alluog i fywhâu y rhai sydd "yn feirw mewn camweddau a phechodau." Ymddengys mai at hyn y cyfeiriai pan y dywedai, "Yn wir, yn wir, meddaf i chwi, y mae yr awr yn dyfod, ac yn awr y mae, pan glywo y meirw (ysbrydol) lef Mab Duw," yn yr efengyl; "a'r rhai a glywant a fyddant

byw." (Ioan v. 25.) Yn hollol annysgwyliadwy y cyflawnwyd y wyrth yma wrth both Nain. Cario y gŵr ieuanc tua'r bedd i'w gladdu, ac nid ei gario at Grist i'w fywhâu, yr oeddynt pan yr adgyfodwyd ef. Felly y mae y Gwaredwr yn fynych eto yn bywhâu eneidiau rhai y byddwn ni yn barotach i'w claddu, mewn anobaith, nag i'w cario ato ar elor-feirch ein gweddiau. Mae yn rhoddi mynych brofion fod ei allu i achub a gwaredu yn myned tu hwnt i obeithion a dysgwyliadau dynion. Priodol gan hyny y gallwn ninau uno gyda'r apostol yn y fawl-wers hono,—"Ond i'r hwn a ddichon wneuthur yn dra rhagorol, *y tu hwnt i bob peth yr ydym ni yn eu dymuno, neu yn eu meddwl*, yn ol y nerth sydd yn gweithredu ynom ni, iddo ef y byddo y gogoniant, yn yr eglwys, trwy Grist Iesu, dros yr holl genhedlaethau, hyd yn oes oesoedd. Amen." (Eph. iii. 20, 21.)

# XII.

## GOSTEGU Y DYMESTL.

*"Ac efe a ddywedodd wrthynt y dwthwn hwnw, wedi ei hwyrhâu hi, Awn drosodd i'r tu draw. Ac wedi iddynt ollwng ymaith y dyrfa, hwy a'i cymerasant ef fel yr oedd yn y llong: ac yr oedd hefyd longau eraill gyd ag ef. Ac fe a gyfododd tymestl fawr o wynt, a'r tonau a daflasant i'r llong, hyd onid oedd hi yn llawn weithian. Ac yr oedd efe yn y pen ol i'r llong, yn cysgu ar obenydd: a hwy a'i deffroisant ef, ac a ddywedasant wrtho, Athraw, ai difater genyt ein colli ni? Ac efe a gododd i fynu, ac a geryddodd y gwynt, ac a ddywedodd wrth y môr, Gostega, distawa. A'r gwynt a ostegodd, a bu dawelwch mawr," &c.* MARC iv. 35–41. [Gwel hefyd MATH. viii. 23—27; LUC viii. 22—25.]

NID oes yr un amgylchiad yn mywyd y Gwaredwr yn arddangos ei allu a'i ogoniant mewn dull mwy eglur ac effeithiol na'r wyrth fawr hon. Yr ydym wedi ei weled eisoes yn amlygu ei awdurdod ar glefydau, ac ar angeu, "brenin y dychryniadau;" ond yma yr ydym yn canfod ei lywodraeth ar elfenau natur, ac yn gweled "y gwynt a'r môr yn ufuddhâu iddo." Yr oedd efe wedi bod yn ddiwyd a llafurus trwy y dydd blaenorol yn iachâu cleifion, ac yn pregethu i dorfëydd llïosog allan ar lan y môr. Y dydd hwnw y llefarodd yr holl ddamegion a goffeir yn Math. xiii. Ond yr oedd ganddo waith pwysig i'w gyflawni yr ochr arall i fôr Galilea, sef iachâu y ddau ddieflig yn ngwlad y Gadareniaid; am hyny, yn lle myned i chwilio am orphwysfa ar ol llafur y dydd, efe a ddywedodd wrth ei ddysgyblion "y dwthwn hwnw wedi ei hwyrhâu hi, Awn trosodd i'r tu draw. Ac wedi iddynt ollwng ymaith y dyrfa, hwy a'i cymerasant ef fel yr oedd yn y llong,"—sef yn y llong oedd wedi bod yn bwlpud iddo i bregethu i'r torfëydd. "Hwy a'i cymerasant *ef fel yr oedd*,"—yn flin a lluddedig ar ol llafur y dydd, ac heb gymeryd amser i wneuthur unrhyw barotôadau gogyfer â'i gysur ar ei fordaith nosawl. Mor fawr oedd ei hunan-ymwadiad, a'i lwyr ymroddiad i

weithio gwaith yr hwn a'i hanfonodd! Os dygwydd i ni gael ein temtio i esgeuluso unrhyw ddyledswydd, neu i adael i gyfleusdra gwerthfawr i wneuthur daioni lithro heibio heb ei ddefnyddio, am ein bod yn teimlo yn flin a lluddedig, cofiwn am yr Iesu yn myned dros fôr Galilea "*fel yr oedd*," i waredu y trueiniaid yn ngwlad y Gadareniaid. Y mae llyn Gennesaret, neu fôr Galilea, tua deuddeg milltir o hyd, ac oddeutu pump neu chwech o led. Mae ei wyneb yn gyffredin yn dawel a llyfn; gwena drwy ei gwsg yn ei wely dwfn fel baban yn ei gryd; ond oherwydd ei fod yn cael ei amgylchynu gan fynyddau serth, a glynoedd dyfnion, disgyna rhuthr-wyntoedd disymwth arno ar brydiau, oddi rhwng agenau y mynyddoedd cylchynol, nes ei gynhyrfu yn sydyn i agwedd dra bygythiol a pheryglus. Felly y bu y noswaith hon, pan oedd y Gwaredwr a'i ddysgyblion yn ei groesi:—"*Ac fe a gyfododd tymestl fawr o wynt, a'r tonau a daflasant i'r llong, hyd onid oedd hi yn llawn weithian.*" Yr oedd hi wedi bod yn ddiwrnod teg a hyfryd; canys yr oedd yr Iesu yn pregethu allan ar làn y môr. Gwenai yr haul yn siriol wrth fachludo o'r tu ol i'r bryniau gorllewinol, pan oedd y Gwaredwr a'i ddysgyblion yn cychwyn i'w mordaith. Yr oedd gwyneb y môr fel gwydr gloyw yn adlewyrchu delw y ffurfafen uwchben. Y mae yr Athraw mawr yn ei flinder a'i ludded yn gorwedd i orphwys ar y *deck* oedd dros ran o'r llong, ac y mae rhai o'r dysgyblion yn taenu eu hamwisg drosto, i'w gadw yn gynes. Y mae efe yn fuan yn syrthio i gysgu, ar obenydd caled o bren; ac y maent hwythau yn rhwyfo yn mlaen dan ymddyddan â'u gilydd am bregethau a gwyrthiau y dydd oedd wedi myned heibio. Fel hyn y mae pob peth yn argoeli y caent fordaith gysurus. Ond cyn hir y mae yr awyr yn duo, ac yn gwisgo golygwedd dra bygythiol; a chyda hyny, wele y mellt yn dechreu fflachio, y taranau trystfawr yn croch-ruo, y gwlaw yn disgyn yn bistylloedd, a chawod o hyrddwynt yn disgyn ar y llyn, nes ei derfysgu i'w waelodion. Ymruthrai y tònau cynddeiriog mewn bâr ar y

llong fechan, fel cynifer o lewod gwancus yn rhuthro ar eu hysglyfaeth. A dyna lle yr oedd hi yn ymrolio yn ol ac yn mlaen, yn nghanol yr eigion cynhyrfus, nes llenwi mynwesau y dysgyblion ag arswyd a dychryn. Tybia rhai fod gan Satan law yn nghyfodiad yr ystorm hon ar fôr Tiberias. Nid yw hyny mewn un modd yn ymddangos i mi yn beth annhebygol. Y mae hanes profedigaethau Job yn profi fod gan "dywysog llywodraeth yr awyr" allu i godi ystormydd dychrynllyd, ond iddo gael caniatâd i wneud hyny. Gwyddai y diafol y byddai i'r Iesu ddwyn y ddau ddieflig o'i feddiant, os gadewid iddo fyned drosodd i wlad y Gadareniaid; ac nid rhyfedd, gan hyny, iddo wneuthur ei oreu i geisio ei attal. Defnyddiodd Herod yn offeryn i geisio ei ddinystrio pan ydoedd yn faban bach. Ymosododd arno drachefn ei hunan yn bersonol yn yr anialwch. Ac yn awr, wrth ei weled yn cysgu yn y llong, meddyliodd y diafol fod yma gyfleusdra manteisiol i'w ddinystrio ef a'i ddysgyblion gyda'u gilydd, trwy eu boddi yn eigion y môr. Goddefwyd i Satan gyfodi yr ystorm er mwyn profi ffydd y dysgyblion, a rhoddi achlysur i Grist i amlygu ei allu dwyfol trwy ostegu y dymestl.

Ond gadewch i ni yn awr gymeryd cipolwg eto ar agwedd yr Arglwydd Iesu yn yr ystorm: "*Ac yr oedd efe yn y pen ôl i'r llong yn cysgu ar obenydd.*" Fel yr oedd efe yn wir a phriodol ddyn, yr ydoedd yn ddarostyngedig i holl wendidau dibechod y natur ddynol—yr ydym yn cael hanes am dano yn blino, yn newynu, yn sychedu, ac yn cysgu, fel ninau. Yr ydym yn teimlo ei fod yn un o honom wrth edrych arno yn cysgu. Tybia rhai mai at y nos o flaen hon y cyfeiria Luc pan y dywed, "A bu yn y dyddiau hyny, fyned o hono ef allan i'r mynydd i weddïo; a pharhâu ar hyd y nos yn gweddïo Duw." (Luc vi. 12.) Os felly, nid rhyfedd fod ar ei natur eisieu cysgu y noswaith hon. Ond yn mha le y mae "tywysog brenhinoedd y ddaear," a gwrthddrych addoliad holl angelion y nef, yn cysgu? Nid mewn palas godidog, ar wely esmwyth, yn cael ei amgylchu

gan ddrudfawr leni sidan, ond allan ar fwrdd llong fechan mewn ystorm ar fôr Tiberias! Yr oedd efe yn gallu cysgu yn dawel a diarswyd yn nghanol y dymestl, oblegid yr oedd ganddo gydwybod dda, a chalon berffaith sanctaidd yn ei fynwes. Euogrwydd sydd yn cynyrchu ofn. Ni byddai ar angel ofn mewn unrhyw amgylchiad. Ac o'r tu arall, os oedd yr Iscariot yn y llong, nid yw yn debyg y gallasai efe gysgu yno y noswaith hono. Y mae yn wir fod genym hanes am Jonah yn cysgu unwaith mewn ystorm ar y môr; ond yr oedd dirfawr wahaniaeth rhwng cwsg Jonah a chwsg yr Iesu; cydwybod gysglyd oedd yn peri i Jonah gysgu yn nghanol y fath berygl; ond cydwybod bur oedd yn peri i'r Iesu gysgu mor dawel yn nghanol y dymestl. Er fod y mellt yn fflachio nes oedd yr wybr yn ymddangos fel llen o dân, y taranau yn rhuo, y môr yn terfysgu, y gwlaw yn disgyn yn ddafnau breision ar ei ruddiau, a'r tonau chwyddedig yn lluchio eu hewyn i'w wyneb wrth ymdaflu dros y llong, eto nid oedd hyn oll yn aflonyddu dim ar ei gwsg ef. Y mae cwsg cysurus fel hyn yn fendith anmhrisiadwy; ac y mae tuedd mewn Cristionogaeth i wneud cwsg dynion yn fwy hapus: "Felly y rhydd efe hûn i'w anwylyd. Ti a orweddi, a'th gwsg fydd melus." (Salm cxxvii. 2; Diar. iii. 24.)

Yr oedd yr Iesu yn rhagweled y dymestl wrth gychwyn, ac er ei fod yn teimlo yn flin a lluddedig, eto y mae yn sicr y gallasai ymgadw yn effro pe buasai yn dewis; ond ymollyngodd i gysgu, nid yn unig er mwyn gorphwys ac adnewyddu ei natur, ond hefyd i'r dyben o brofi ffydd ei ddysgyblion, trwy roddi cyfleusdra iddynt i ddangos pa un a oeddynt yn credu ei fod ef yn gwybod am danynt, ac yn alluog i'w dyogelu, tra yr oedd ei ddynoliaeth yn cysgu. Y mae yn profi ffydd ei bobl yn fynych eto mewn dull cyffelyb. Mae dynion duwiol yn aml yn cyfarfod ag ystormydd blin o brofedigaethau, ac er "na huna, ac na chwsg ceidwad Israel" (Salm cxxi. 4); eto y mae efe yn *ymddangos* yn aml fel pe byddai yn cysgu, ac heb sylwi ar orthrymderau a gofidiau ei bobl. Felly y teimlai y Salmydd

pan y dywedai, "Deffro, paham y cysgi, O Arglwydd? cyfod, na fwrw ni ymaith yn dragywydd." (Salm xliv. 23.)

Parhâu i gynyddu mewn nerth a ffyrnigrwydd yr oedd y dymestl, ac y mae yn rhaid fod y llong yn ymddangos mewn dirfawr berygl cyn y buasai dynion cyfarwydd â'r môr o'u mebyd, fel y dysgyblion, yn teimlo y fath ofn a dychryn. Ond yr oedd yn anhawdd ganddynt ddeffro yr Iesu. Edrychent yn bryderus tua'r fan y gorweddai gan ddysgwyl ei weled yn deffro o hono ei hun. O'r diwedd y mae y perygl yn ymddangos mor fawr nes y maent yn methu ymattal yn hŵy; ac am hyny, y maent yn myned ato, yn cyffwrdd âg ef, ac yn galw arno, gan ddywedyd, "Athraw." Ac er i holl dwrf brawychus y dymestl fethu ei ddeffro, eto y mae llais gweddi ei ddysgyblion, er gwaned oedd eu ffydd, yn ei ddeffro mewn moment. Y mae y prawf yma o'i barodrwydd i wrando gweddi yn gysur cryf i'r gwan yn y ffydd i alw arno mewn cyfyngder: "Galw arnaf fi yn nydd trallod: mi â'th waredaf, a thi â'm gogoneddi." (Salm l. 15.) Mae ychydig o wahaniaeth yn adroddiadau y gwahanol Efengylwyr, o'r geiriau a arferwyd gan y dysgyblion, wrth anerch yr Iesu ar yr achlysur hwn: "*A'i ddysgyblion a ddaethant ato, ac a'i deffroisant, gan ddywedyd wrtho, Arglwydd, cadw ni: darfu am danom,*" meddai Mathew. "*A hwy a'i deffroisant ef, ac a ddywedasant wrtho, Athraw, ai difater genyt ein colli ni?*" meddai Marc. "*A hwy a aethant ato, ac a'i deffroisant ef, gan ddywedyd, O Feistr, Feistr, darfu am danom,*" meddai Luc. Y peth tebycaf yw —i rai o'r dysgyblion ddefnyddio y naill, ac i eraill o honynt ddefnyddio y lleill, o'r ymadroddion hyn. Y mae yn eglur fod ganddynt ryw gymaint o ffydd, canys yr oeddynt yn credu y gallasai eu Hathraw eu cadw a'u dyogelu, er mor fawr yr ymddangosai yr enbydrwydd a'r perygl. Ond y mae y ffaith fod eu *hofnau* mor fawrion, yn profi fod eu *ffydd* yn fychan. Yr oeddynt yn amheu Hollwybodaeth eu Harglwydd; canys yr oeddynt yn meddwl na wyddai efe ddim am eu helbul a'u trallod tra yr ydoedd yn cysgu. Yr

oeddynt yn amheu ei Hollalluogrwydd—fel pe na allasai ei allu dwyfol eu cadw pan oedd ei ddynoliaeth yn cysgu. A gwaeth na'r cwbl, yr oeddynt yn amheu ei gariad a'i ofal: "Ai *difater* genyt ein colli?" meddynt. Yr oedd y cwestiwn angharedig yma yn sicr o fod yn gwanu calon y Gwaredwr fel picell; canys nid oes dim yn clwyfo ei deimlad yn ddyfnach na gwaith ei bobl yn amheu ei ofal a'i gariad. "Ai difater ganddo eu colli hwynt?" Na, yr oedd yn hawdd iddynt wybod yn amgen; canys yr ydoedd wedi rhoddi digon o brofion iddynt i'r gwrthwyneb. Os oes ambell gwmwl weithiau yn myned dros haul ei gariad, nid yw y cymylau duaf yn diffodd yr haul, nac yn lleihâu dim ar ei ddysgleirdeb, er eu bod yn cuddio ei belydrau oddiwrthym ni i raddau am dymhor. Felly yr oedd gwaith y dysgyblion yn amheu gofal y Gwaredwr, yn yr amgylchiad hwn, mor afresymol â phe yr amheuid pa un a yw yr haul yn y ffurfafen ar ddiwrnod cymylog a niwliog.

Ond ni omeddodd wrando eu gweddi o herwydd gwendid eu ffydd. Edrychwch arno yn deffro. A ydyw yn cyffroi ac yn dychrynu wrth ddeffro yn nghanol y fath ystorm? Na, y mae yn deffro ac yn codi mor dawel a digyffro ag y mae yr haul yn codi ar fore teg yn yr hâf. Ymddengys, yn ol Mathew, mai y peth cyntaf a wnaeth ar ol cyfodi oedd rhoddi gair o gerydd i'r dysgyblion. Ond am ba beth y mae yn eu ceryddu? Ai am aflonyddu ar ei gwsg? Y mae hanes am un llywodraethwr creulawn a gormesol yn yr India, y buasai yn berygl bywyd i neb ei ddeffro, hyd yn nod ar yr achos pwysicaf, cyn yr amser. Ond nid am ei ddeffro y mae yr Iesu yn ceryddu ei ddysgyblion, ond am wendid eu ffydd. Ond tra y mae Mathew yn gosod y cerydd i'r dysgyblion o flaen tawelu y dymestl, y mae Marc a Luc yn ei osod ar ol hyny. Y mae yn debyg iddo ddweyd gair i ostegu yr ystorm a'r terfysg oedd yn mynwesau y dysgyblion, cyn tawelu y gwynt a'r môr, ac yna iddo droi atynt, yn fwy hamddenol, i'w beio oherwydd eu diffyg ffydd. "*Ac efe a gododd i fynu, ac a geryddodd y gwynt, ac a*

*ddywedodd wrth y môr, Gostega, distawa. A'r gwynt a ostegodd, a bu tawelwch mawr.*" Y fath fawredd dwyfol sydd yn ymddysgleirio yn y weithred aruchel hon! Dyma yr hwn oedd fynyd neu ddau yn ol yn cysgu yn dawel, ar fwrdd y llong, yn awr yn cyfodi, ac heb unrhyw ymdrech na gorchest yn rhoddi y dymestl i gysgu. Mae y môr yn arfer parhâu yn gynhyrfus yn hir ar ol i'r ystorm fyned drosodd, ond yma wele yr eigion terfysglyd, ar air yr Iesu, yn gorwedd mewn eiliad yn llonydd wrth ei draed, fel y gorwedda ci ufudd pan ddwrdir ef gan ei feistr:—"Ti wyt yn llywodraethu ymchwydd y môr: pan gyfodo ei dònau, ti a'u gostegi. Yr Arglwydd yn yr uchelder sydd gadarnach na thwrf dyfroedd lawer, na chedyrn donau y môr." (Salm lxxxix. 9; xciii. 4.) Yr oedd yn rhaid i Moses daro y môr â'i wïalen, wrth ei hollti, i arwyddo nad oedd y gallu i agor y môr yn trigo ynddo ef; ond y mae Crist yn tawelu y môr heb unrhyw offeryn; yr oedd ei *air* yn unig yn ddigon. Dywedir iddo "*geryddu*" y dymestl. Yn awr, yr ydym yn gwybod mai *person*, ac nid *peth*, yw priodol wrthddrych cerydd; ac y mae y ffaith i'r Iesu geryddu yr elfenau cynhyrfus yn arwyddo yn amlwg ei fod ef yn gweled bôd personol, sef y gelyn diafol, wrth wraidd pob annhrefn yn y byd naturiol, yn gystal ag yn y byd moesol. Ond y mae ei waith yn gostegu y dymestl yn dangos ei fod ef yn alluog i ddwyn trefn allan o annhrefn, ac i ryddhâu "y creadur"—y greadigaeth faterol a direswm—"o gaethiwed llygredigaeth, i ryddid gogoniant plant Duw." (Rhuf. viii. 21.)

Wedi ceryddu y dymestl y mae yn troi i geryddu ei ddysgyblion, oherwydd eu hanghrediniaeth: "*Ac efe a ddywedodd wrthynt, Paham yr ydych mor ofnog? pa fodd nad oes genych ffydd?*" Y mae yn eu beio am fod mor ofnus, ac yn priodoli eu hofnau i wendid eu ffydd. Pe buasent yn y fath dymestl dan amgylchiadau cyffredin buasai ganddynt achos i ofni. Ond dylasent deimlo nad oedd perygl i'r llong oedd yn cario Arglwydd yr elfenau, a iechydwriaeth y byd, suddo i'r dyfnder. Pan oedd un o ymerawdwyr Rhufain

mewn ystorm ar y môr, ymdrechai galonogi y morwyr, trwy beri iddynt gofio fod y llong yr oeddynt ynddi yn cario Cesar a'i dynged. Druain o honynt, sicrwydd gwan o'u dyogelwch oedd hyny. Ond yr oedd fod Crist yn y llong ar fôr Tiberias, yn ddigon o sicrwydd i'r dysgyblion nad oedd perygl iddynt fyned i'r gwaelod. A'r un modd y mae yr enaid lle mae Crist "yn trigo trwy ffydd yn y galon," yn ddyogel byth rhag suddo i golledigaeth. Na fydded i ni fel y dysgyblion roddi ffordd i ofnau disail; ond penderfynwn fel y Salmydd, pan ddywedai, "Y dydd yr ofnwyf, mi a ymddiriedaf ynot ti." (Salm lvi. 3.)

Mae yr effaith a gafodd y wyrth fawr hon ar y dysgyblion yn cael ei grybwyll: "*Eithr hwy a ofnasant yn ddirfawr, ac a ddywedasant wrth eu gilydd, Pwy yw hwn, gan fod y gwynt a'r môr yn ufuddhâu iddo?*" Nid oes unrhyw greaduriaid ag y mae gan ddyn lai o awdurdod a llywodraeth arnynt na'r gwynt a'r môr. Dywedir am ambell un, mwy ystyfnig a direswm na'r cyffredin, Ni byddai waeth ceisio siarad â'r gwynt na siarad â hwna. Ond dyma rywun, yn natur dyn, ar fôr Galilea, yn medru siarad â'r gwynt, nes gwneud iddo glywed ei lais, a gwrando arno. Yn mherson y Gwaredwr, ni a welwn y ddynoliaeth wedi ei hadfer i fwy o uwchafiaeth, ac awdurdod ar natur nag oedd ganddi ar y cyntaf.

Fel cymhwysiad o hanes y wyrth hon gellir sylwi, fod y llong fechan yma ar fôr Tiberias, yn ddarlun cywir o eglwys Crist, yn y "byd drwg presenol." Yr oedd yr holl eglwys Gristionogol yma yn yr ystorm, ac wrth ei dwyn fel hyn i'r fath gyfyngder yn ei mabandod, awgrymid ei bod hi i ddysgwyl ystormydd blin o erlidiau a phrofedigaethau. Gellir yn briodol ei chyfarch yn aml yn ngeiriau y proffwyd, a'i galw, "Y druan helbulus gan dymestl, &c." (Esiah liv. 11.) Ond yn y mil blynyddoedd ceir gweled yr Arglwydd "yn cyfodi ac yn trugarhâu wrth Sïon," trwy dawelu yr holl ystormydd sydd yn curo arni.

Mae dynion duwiol yn bersonol hefyd yn cyfarfod â llawer tymestl flin, ond y mae y wyrth hon yn ein hysbysu

am un, yn ein natur ni, a fedr eu tawelu oll—holl ystormydd profedigaethau allanol, a holl ystormydd y fynwes. "Efe a wna yr ystorm yn dawel." (Salm cvii. 29.) Gwyn fyd y rhai sydd yn ymddiried ynddo, ac a allant ddweyd, "Duw sydd noddfa a nerth i ni, cymorth hawdd ei gael mewn cyfyngder. Am hyny nid ofnem pe symudai y ddaear, a phe treiglid y mynyddoedd i ganol y môr: er rhuo a therfysgu o'i ddyfroedd, er crynu o'r mynyddoedd gan ei ymchwydd ef." (Salm xlvi. 1—3.)

"O blentyn y nefoedd,
Paham mae dy fron
Mor ofnus wrth weled
Gwyllt ymchwydd y dòn?
Mae 'r dyfnder du, tywyll,
Yn rhuo, gwir yw;
Ond dyogel yw'th fywyd,
Mae 'th Dad wrth y llyw.

---

"Daw 'n fuan orfoledd
Diddiwedd i'th ran:
Draw 'n dysgwyl mae 'th geraint
Oddeutu y làn:
Y dysglaer lys acw,
Dy hoff gartref yw,
Mae Canaan yn ymyl,
A'th Dad wrth y llyw."

# XIII.

## ADFERIAD Y DYN CYTHREULIG O GADARENIA.

"*A hwy a aethant allan i weled y peth a wnelsid; ac a ddaethant at yr Iesu, ac a gawsant y dyn o'r hwn yr aethai y cythreuliaid allan, yn ei ddillad, a'i iawn bwyll, yn eistedd wrth draed yr Iesu.*"

LUC viii. 35. [Gwel hefyd MATH. viii. 28—34; MARC v. 1—20.]

GWELSOM yr Iesu, yn y wyrth flaenorol, yn amlygu ei awdurdod ar elfenau natur, a'i allu i adfer tangnefedd a threfn yn y byd naturiol; ond yn y wyrth ryfedd sydd yn dyfod yn awr dan sylw, yr ydym yn cael amlygiad mwy gogoneddus o lawer drachefn o'i allu; canys y mae llywodraethu ysbrydion aflan, a pheri "tawelwch mawr" yn mynwes derfysglyd dyn, yn waith mwy na rheoli y gwynt a'r môr. Mor fuan ag y glaniodd yn ngwlad y Gadareniaid wele ddyn cythreulig yn rhedeg i'w gyfarfod. Dywed Mathew fod yno *ddau* ddieflig; ond nid yw Marc a Luc yn son am ddim ond un. Fe allai mai y rheswm am hyny yw fod un o'r ddau yn llawer mwy adnabyddus a ffyrnig na'r llall. Dichon fod hwn yn ŵr cyfoethog, ac yn ddinesydd cyfrifol, cyn iddo gael ei feddianu gan gythreuliaid. Ond yr ydoedd yn awr mewn cyflwr arswydus a dychrynllyd iawn, fel y dengys ei hanes yn eglur. Tybir am y rhai a feddienid gan gythreuliaid, eu bod ar brydiau yn ymwybodol a theimladwy o'u trueni, ac os felly, y mae yn ddiau eu bod yn yr adegau hyny yn dwys hiraethu am waredigaeth o grafangau eu poenydwyr creulawn. Ac y mae y wyrth hon yn ein hysbysu am un wedi "ymddangos i ddatod gweithredoedd diafol," ac i ryddhâu carcharorion rhyfel "y cryf arfog." Y mae holl ddynolryw wrth naturiaeth "yn meddiant Satan," mewn ystyr ysbrydol (Act. xxvi. 18); ond y mae

Crist yn y wyrth yma yn ddatguddio ei hun *fel Gwaredwr dynion o feddiant y diafol.* Arwyddir yn yr hanes :—

I. Fod Crist fel Gwaredwr yn cael dyn mewn cyflwr truenus a dychrynllyd iawn. Y mae y darluniad a roddir o sefyllfa y dyn yma yn Gadarenia yn alaethus dros ben. "*Ac wedi i'r Iesu fyned allan i dir, cyfarfu ag ef ryw ŵr o'r ddinas, yr hwn oedd ganddo gythreuliaid er ys talm o amser; ac ni wisgai ddillad, ac nid arhosai mewn tŷ, ond yn y beddau,*" &c. Yr oedd y dyn truenus hwn yn ddarlun tra chywir o bechadur yn ei gyflwr annychweledig.

1. *Yr ydoedd yn hollol aflywodraethus.* Yr oedd dynion cryfaf y gymydogaeth wedi bod lawer gwaith yn ceisio ei rwymo â llyffetheiriau a chadwynau, i'r dyben o'i gadw gartref, a'i atal i niweidio ei hun, ac eraill; ond ofer oedd pob ymdrech i'w rwymo a'i feistroli; oblegid yr ydoedd, trwy nerth y lleng o gythreuliaid oedd yn ei feddianu, yn "dryllio y llyffetheiriau, ac yn darnio y cadwynau, ac ni allai neb ei ddofi ef." Yr ydoedd wedi trechu a maeddu yr holl gymydogaeth. Ac yn gyffelyb y mae llawer pechadur, dan ddylanwad y diafol, yn tori ar draws pob rhybudd, yn diystyru pob cynghor, yn dryllio cadwynau cryfion cyfreithiau gwladol, yn nghyd a gwaharddiadau a gorchymynion deddf Duw. Iaith ymddygiad llaweroedd yw, "Drylliwn eu rhwymau hwynt, a thaflwn eu rheffynau oddi wrthym." "Eithr y rhai hyn a gyd-dorasant yr iau, ac a ddrylliasant y rhwymau." (Salm ii. 3; Jer. v. 5.) Ond y mae gan Dduw gadwynau digon cryfion i rwymo y cyfryw am byth, "draed a dwylaw, a'u taflu i'r tywyllwch eithaf."

2. *Yr oedd ei drigfan yn y beddau.* Ogofeydd ac ystafelloedd ëang, wedi eu tori yn ystlysau y mynyddoedd, oedd y beddau hyn. Defnyddid hwynt yn fynych yn llochesau gan ysbeilwyr i ymguddio ynddynt. Dihangai y dyn truenus yma allan o'i dŷ, ac o'r ddinas, er holl ymdrechion ei geraint a'i gyfeillion i'w gadw gartref, a chrwydrai ar hyd lleoedd anial ac anghyfanedd, gan gartrefu yn y beddau; a dyna lle byddai ddydd a nos yn gwneuthur y lleisiau a'r

oernadau mwyaf dychrynllyd, nes taenu arswyd a braw trwy yr holl gymydogaeth; a dïau fod morwynion drygionus a disynwyr y wlad hono yn arfer dychrynu plant bach y fro trwy ei fygwth arnynt. Yn gyffelyb y mae llawer pechadur tra yn meddiant Satan, mewn ystyr ysbrydol, â'i gartref, oblegid ei afradlonedd, yn ddiffaethwch truenus, ac y mae yn dewis bod yn mhlith y rhai sydd yn feirw mewn camweddau a phechodau, yn hytrach nag yn nghymdeithas y rhai sydd wedi eu bywhâu trwy ras. Y mae llawer Cristion hefyd, ysywaeth, yn myned dan ddylanwad y diafol i agwedd mor ddirywiedig o ran ei ysbryd, fel y mae yn cydymffurfio gormod o lawer â'r byd annychweledig. Y mae Duw yn galw ar bawb o'r cyfryw, gan ddywedyd, "Deffro di yr hwn wyt yn cysgu, a chyfod oddiwrth y meirw; a Christ a oleua i ti." (Eph. v. 14.)

3. *Yr ydoedd yn hunan-ddinystrydd.* Cedwid pob cyllell ac erfyn miniog yn ofalus o'i gyrhaedd; ond y fath oedd ingoedd ei feddwl fel y dywedir ei fod yn archolli ei gnawd â cherig llymion, nes y byddai ei waed yn llifo. A'r un modd y mae llawer pechadur, tra yn meddiant y diafol, yn dinystrio ei iechyd a'i gyfansoddiad, trwy ei anghymedroldeb a'i afradlonedd, ïe, a gwaeth na dinystrio ei amgylchiadau, a dinystrio ei gorff, y mae yn dinystrio ei gymeriad, ei gysur, a'i enaid anfarwol. "O Israel, tydi a'th ddinystriaist dy hun; ond ynof fi y mae dy gymorth." (Hos. xiii. 9.)

4. *Yr ydoedd yn niweidiol i'w gyd-ddynion.* Dywed Mathew ei fod "yn dra ffyrnig, fel na allai neb fyned y ffordd hono." Ymruthrai fel rhyw fwystfil rheibus ar y teithwyr anffodus a dramwyent y ffordd hono, gan eu maeddu a'u harcholli, yn greulawn a didrugaredd, a hyny mewn lle anial ac anghyfanedd, lle nad oedd ymwared na chymorth i'w gael, fel yr oedd yn berygl bywyd i neb gerdded y ffordd hono. Aeth y ffordd yn ddisathr am fod ar bawb ofn ei theithio. Y mae yn ddychrynllyd meddwl gymaint o niwed y mae dynion, sydd dan lywodraeth y diafol, yn ei wneuthur i'w cyd-ddynion, trwy eu llygru â'u hesiamplau drwg, eu

gorthrymu, a'u dinystrio mewn rhyfel, &c. "Buan yw eu traed i dywallt gwaed. Distryw ac aflwydd sydd yn eu ffyrdd: a ffordd tangnefedd nid adnabuant." (Rhuf. iii. 15—17.) Y mae ambell ddyn megis Alexander, a Hannibal, a Bonaparte, a'r cyffelyb, wedi gwneud mwy o ddifrod a galanastra yn y byd na'r daear-grynfaau a'r llosgfynyddau.

II. FOD CRIST FEL GWAREDWR YN GWNEUD CYFNEWIDIAD DEDWYDD A GOGONEDDUS AR Y RHAI A WAREDIR GANDDO O FEDDIANT Y DIAFOL: "A hwy a aethant allan i weled y peth a wnelsid; ac a ddaethant at yr Iesu, *ac a gawsant y dyn, o'r hwn yr aethai y cythreuliaid allan, yn ei ddillad, a'i iawn bwyll, yn eistedd wrth draed yr Iesu.*"

Yr ydym yn cael i'r dyn cythreulig druan, pan ganfu efe yr Iesu o hirbell, redeg ato a'i addoli. Mae hyn yn ymddangos yn dra rhyfedd ar yr olwg gyntaf, canys gallasem ddysgwyl i'r cythraul wneud ei oreu i gadw y dyn yn ddigon pell oddiwrth Grist. Ond feallai fod y dyn yn cael ei dynu i bresenoldeb y Gwaredwr gan ryw ddylanwad dirgelaidd ar ei feddwl, rhy gryf i leng o gythreuliaid allu ei wrthsefyll. "*A chan waeddi â llef uchel, efe a ddywedodd, Beth sydd i mi a wnelwyf â thi Iesu, Fab y Duw goruchaf? yr ydwyf yn dy dynghedu trwy Dduw, na phoenech fi. A ddaethost ti yma i'n poeni ni cyn yr amser?*" Nid iaith y dyn, ond iaith yr ysbrydion drwg yw y geiriau hyn. Er nad oedd yr Iesu ond dyn cyffredin o ran ei ymddangosiad, heb na chleddyf tanllyd ysgwydedig, nac arf o unrhyw fath yn ei law, eto dyma leng o ysprydion cryf-galon yn crynu ger ei fron, er eu bod wedi trechu gwlad o ddynion. "*A'r Iesu a ofynodd iddo, gan ddywedyd, Beth yw dy enw di? Yntau a ddywedodd, Lleng: canys llawer o gythreuliaid a aethent iddo ef.*" Tybir fod lleng o filwyr Rhufeinig yn cynwys oddeutu chwe' mil o wyr. Meddylia rhai mai dyben Crist wrth ofyn yn gyhoeddus i'r diafol beth oedd ei enw, oedd gwneud nerth y gelyn oedd i'w orchfygu yn adnabyddus trwy yr atebiad, fel y byddai i'w allu ef ymddangos yn fwy gogoneddus,

trwy ei waith yn concro y fath nifer o ysbrydion drwg, â'i air yn unig. Wedi i'r ysbrydion aflan gael eu bwrw allan o'r dyn, y mae golwg wahanol iawn arno i'r peth ydoedd tra yn meddiant ei boenydwyr creulawn. 1. Y mae yn awr "*yn ei dillad.*" Yr ydoedd yn noeth pan ddaeth at yr Iesu, "canys ni wisgai dillad," meddai yr hanes. Rhwygai a drylliai ei ddillad yn ddarnau yn ei wallgofrwydd. Fe allai mai gan y dysgyblion y cafodd y dillad oedd yn awr am dano. Y mae Cristionogaeth yn dwyn gwareiddiad i'r gwledydd barbaraidd lle mae y trigolion yn crwydro yn noethion yn y coedwigoedd. Y mae eneidiau dynion hefyd yn noethion, tra yn meddiant y diafol; ond y mae trugaredd yn eu gwisgo "â mantell cyfiawnder, ac â gwisgoedd iechydwriaeth." (Esaiah lxi. 10.) 2. Y mae "*yn ei iawn bwyll.*" O'r blaen yr ydoedd allan o'i synwyrau, fel y dangosai ei weithredoedd yn amlwg. A'r un modd y mae yr enaid sydd yn meddiant Satan mewn ystyr ysbrydol, fel gwallgof-ddyn yn difyru ei hun â dychymygion disail, trwy dybied ei fod yn oludog pan y mae yn nyfnder tlodi; y mae yn esgeuluso y pethau mwyaf eu pwys; ac yn cellwair yn nghanol y peryglon mwyaf ofnadwy, &c. Ond yn yr adenedigaeth y mae yr enaid yn dyfod i'w bwyll. "*Dechreuad* doethineb yw ofn yr Arglwydd: deall da sydd gan y rhai a wnant ei orchymynion ef." "Canys ni roddes Duw i ni ysbryd ofn; ond ysbryd nerth, a chariad, a *phwyll.*" (Salm cxl. 10; 2 Tim. i. 7.) 3. Y mae "*yn eistedd wrth draed yr Iesu.*" Nid wrth ei *ochr* fel ei gydradd, ond wrth ei *draed*, fel dysgybl gostyngedig, yr un fath â Mair, "yr hon hefyd a eisteddodd wrth draed yr Iesu, ac a wrandawodd ar ei ymadrodd ef." (Luc x. 39.) Y mae pob un a waredir o feddiant Satan yn dyfod i eistedd wrth draed yr Iesu, i gael ei ddysgu ganddo; ac y mae y rhai sydd yn awr yn eistedd wrth ei draed i gael eu dyrchafu yn y man i eistedd ar ei orseddfainc. (Dat. iii. 21.) Fel hyn yr oedd y cyfnewidiad rhyfedd a wnaed gan Grist ar y dyn yma, yn ddarlun o'r cyfnewidiad gogoneddus, a wneir ganddo trwy ei Ysbryd, ar bawb sydd yn cael eu "dwyn o

feddiant Satan at Dduw." "Gan hyny, od oes neb yn Nghrist, y mae efe yn greadur newydd: &c." (2 Cor. v. 17.)

III. FOD RHAI DYNION YN CAEL COLLEDION TYMHOROL MEWN CYSYLLTIAD A GWAITH CRIST YN GWAREDU DYNION O FEDDIANT Y DIAFOL. "A'r holl gythreuliaid a attolygasant iddo, gan ddywedyd, Danfon ni i'r moch, fel y gallom fyned i mewn iddynt. Ac yn y man y caniatâodd yr Iesu iddynt. *A'r ysbrydion aflan wedi myned allan a aethant i mewn i'r moch: a rhuthrodd y genfaint dros y dibyn i'r môr (ac yn nghylch dwy fil oeddynt,) ac a'u boddwyd yn y môr.*" Dyma brawf eglur a phenderfynol fod y dyn yma yn cael ei feddianu mewn gwirionedd gan gythreuliaid. Nid *gwallgofrwydd* oedd yn dymuno caniatâd i fyned i'r moch, ac yn ofni y dyfnder. Dyma gythreuliaid, am unwaith, ar eu gliniau ger bron Crist, yn gweddio arno. Mae eu gweddi yn dangos nas gallant, er eu holl allu a'u malais, wneuthur niwed i'r creadur mwyaf distadl heb gael cenad gan Grist. Y mae ganddo ef berffaith lywodraeth arnynt. Dichon mai un o'u dybenion wrth ofyn caniatâd i fyned i'r moch oedd—creu rhagfarn a gelyniaeth yn meddyliau y bobl yn erbyn Crist, trwy ddinystrio eu meddianau. Beth bynag oedd eu hamcan y maent yn cael eu deisyfiad. Gwrthododd yr Arglwydd symud y swmbwl o gnawd Paul mewn atebiad i'w weddi (2 Cor. xii. 8, 9.) Gall ymddangos yn dra rhyfedd i rai ei fod yn caniatâu eu dymuniad mor rhwydd i gythreuliaid, ac yn nacâu rhoddi ei ddeisyfiad i apostol. Ond bu y gwrthodiad yn fendith i Paul, a'r caniatâd, ar y llaw arall, yn felldith i'r cythreuliaid; canys dygodd arnynt yr hyn a fawr ofnent, sef eu danfoniad i garchar uffern, gan iddynt golli eu noddfa yn y moch mewn ychydig fynydau.

Yr oedd plaid gyfoethog a dylanwadol yn mhlith yr Iuddewon, a elwid Saduceaid, y rhai a wadent fodolaeth ysbrydion (Act. xxiii. 8.); ac y mae llawer o olynwyr iddynt yn ein dyddiau ni; a dichon mai un o ddybenion Crist wrth ganiatâu i'r cythreuliaid fyned i'r moch oedd rhoddi prawf amlwg o fodolaeth, malais, a gallu ysbrydion drwg.

Os haerir nad oedd y dyn yn cael ei feddianu yn wirioneddol gan gythreuliaid, fel y tybid, yna y mae y gofyniad yn codi yn naturiol, gan ba beth, atolwg, y meddianwyd y moch, pan ruthrodd yr holl genfaint bendramwnwgl dros y dibyn i'r môr. Gwir y ceisia rhai haeru mai cael eu dychrynu a'u gyru i'r môr gan y ddau ddieflig a wnaeth y moch; ond y mae fy ffydd i lawer yn rhy wan i gredu y gallasai *dau wallgofddyn*, wneud peth fuasai yn sicr o fod yn ormod gorchest i ddeg o ddynion yn eu pwyll a'u synwyr sef, gyru dwy fil o foch dros y dibyn i'r môr. Rhyfedd mor barod yw llawer i gredu unrhyw ynfydrwydd a gwrthuni er mwyn ceisio esbonio y goruwchnaturiol ymaith o'r Beibl!

Os Iuddewon oedd perchenogion y moch, yr oedd eu dinystr a'r golled trwy hyny, yn farn briodol ar eu meddianwyr am ddirmygu cyfraith Moses, yr hon oedd yn gwahardd iddynt gadw moch, bwyta eu cig, a masnachu ynddynt. (Lef. xi. 7, 8.)

Os nad Iuddewon oeddynt, fe allai i'r dinystr gael ei oddef i'w profi, trwy roddi cyfleusdra iddynt i ddangos pa un ai y moch, ai Crist, oedd oreu ganddynt.

Dylid cofio hefyd mai gwaith y diafol, ac nid gwaith Crist, oedd dinystrio y moch; Satan oedd awdwr y golled; ni wnaeth yr Iesu ond *goddef* hyn, fel y mae yr Arglwydd, i ryw ddybenion doeth a dirgelaidd, yn goddef llawer o ddrygau naturiol a moesol. Yr oedd ganddo berffaith hawl i roddi y caniatâd yma i'r cythreuliaid, canys ei eiddo ef yw y byd a'i gyflawnder, a'r anifeiliaid ar fil o fynyddoedd; ac yr oedd ganddo yr un awdurdod i amddifadu y Gadareniaid o'u meddianau yn y dull hwn, ag sydd ganddo i oddef i ddynion golli eu hanifeiliaid a'u heiddo trwy haint, neu lifogydd, neu long-ddrylliadau, &c.

Fel y cafodd y Gadareniaid golled mewn cysylltiad â gwaredigaeth y dyn yma o feddiant y diafol, felly y mae buddugoliaethau yr efengyl, a symudiad eneidiau o feddiant y tywyllwch, i deyrnas anwyl Fab Duw, yn sicr o beri colledion tymhorol i'r rhai sydd yn gwneud elw trwy bob

galwedigaeth a masnach bechadurus. Yr oedd rhyw lances yn Phillipi, â chanddi ysbryd dewiniaeth, yr hon oedd yn peri llawer o elw i'w meistriaid wrth ddywedyd dewiniaeth; ond bwriodd Paul yr ysbryd aflan allan o honi. "A phan welodd ei meistriaid hi fyned gobaith eu helw hwynt ymaith, hwy a ddaliasant Paul a Silas, &c." (Act. xvi. 16—24.) Ymgynddeiriogodd Demetrius y gôf arian, a'i gyfeillion, yn erbyn Paul yn Ephesus hefyd, am fod llwyddiant yr efengyl yn peri colled iddynt. (Act. xix. 23—29)

IV. FOD CRIST FEL GWAREDWR YN CAEL EI WRTHOD A'I WRTHWYNEBU GAN LAWER YN LLE EI GROESAWU. "*A'r holl liaws o gylch gwlad y Gadareniaid a ddymunasant arno fyned ymaith oddi wrthynt.*" Dylasent deimlo fod yn anrhydedd a braint iddynt gael y fath un yn eu mysg, a gallesid dysgwyl iddynt, ar ol gweled y fath amlygiad o'i allu â'i ddaioni yn ngwaredigaeth eu cydwladwr, ddymuno arno aros gyda hwynt. Ond yn lle hyny, y maent yn unfryd yn dymuno arno ymadael yn ddioed o'u cyffiniau. Yn lle teimlo yn ddiolchgar iddo am waredu y dyn truenus o feddiant y cythreuliaid, yr oedd eu calonau yn llawn digofaint a gelyniaeth tuag ato, oherwydd y golled a gawsant. Digon tebyg y buasent yn dodi eu dwylaw arno, ac yn ceisio ei yru ymaeth trwy drais, os nid yn codi cerig i geisio ei labyddio, oni buasai fod arnynt ormod o'i ofn. Y mae llawer eto yn gyffelyb iddynt. Pan y mae yr Arglwydd o'i ras yn ymweled â hwynt mewn argyhoeddiadau, ac yn anesmwytho eu cydwybodau, y maent yn lladd yr argyhoeddiadau, yn lle eu meithrin; ac felly y maent yn dweyd wrth Dduw, yn eu hymddygiad, "Cilia oddiwrthym, &c;" am y gwyddant os rhoddant dderbyniad i Grist y bydd raid iddynt ymadael â rhyw bethau sydd yn anwyl ganddynt. Gwrandawyd gweddi y Gadareniaid, a chymerwyd hwynt ar eu gair gan Grist. Ymadawodd yn y fan, yn ol eu cais, a hyny am byth. Ac y mae perygl iddo wneud yr un modd â'r rhai sydd yn lladd argyhoeddiadau. O'r tu arall, os bydd i ni fel y Samariaid ddymuno arno aros gyda ni,

(Ioan iv. 40,) efe a wna hyny. Llefwn fel y proffwyd, "Na âd ni." (Jer. xiv. 7—9.)

V. FOD CRIST YN DYSGWYL I'R RHAI A WAREDWYD GANDDO O FEDDIANT Y DIAFOL EI GANMOL A'I GLODFORI WRTH EU CYFEILLION. Pan oedd yr Iesu yn myned i'r llong i ymadael, "*yr hwn y buasai y cythraul ynddo, a ddymunodd arno gael bod gydag ef.*" Dichon fod y dymuniad hwn yn codi i ryw raddau oddiar *ofn* i'r cythreuliaid ei ail feddianu, neu i berchenogion y moch ddïal arno, wedi i'r Iesu ymadael; ond y mae llawn mor debygol fod ei ddymuniad yn codi oddiar *gariad* at yr Iesu. Teimlai awydd dilyn ei Waredwr trugarog o fan i fan, i'r dyben o'i wasanaethu, fel rhyw gydnabyddiaeth fechan o'i ddiolchgarwch iddo. "*Ond yr Iesu ni adawodd iddo.*" Dichon i'r Iesu nacâu ei ddymuniad yn un peth o drugaredd at y Gadareniaid. Yr oedd am adael y dyn ar ei ol yn eu plith, yn gofgolofn o'i drugaredd a'i allu, i edrych a wnaent ddim ail feddwl, ac edifarhâu am ei wrthod ef. Y mae yn ei adael yno i fod yn genhadwr drosto, ac fel canwyll yn y fangre dywyll hono, i oleuo i'r rhai yr oedd Haul Cyfiawnder ei hunan yn rhy danbaid a dysglaer iddynt. Yn lle gadael i'r dyn fyned gydag ef, y mae Crist yn ei anfon adref at ei deulu, "*Dos i'th dŷ at yr eiddot, a mynega iddynt pa faint a wnaeth yr Arglwydd erot, ac iddo drugarhâu wrthyt.*" Yno yn mhlith ei geraint a'i gymydogion y gallai y dyn fod yn fwyaf defnyddiol; canys hwynt-hwy o bawb oeddynt yn meddu y fantais oreu i weled mawredd y cyfnewidiad oedd wedi ei wneud arno. Dichon nad oedd gan y dyn gymhwysderau naturiol i droi mewn cylch cyhoeddus, a gresyn yw difetha crefftwr da i wneud pregethwr gwael; ond os nad oedd gan y dyn ddoniau i fod yn apostol, gallasai fod yn ddefnyddiol iawn gartref, wrth ddilyn ei alwedigaeth, a dysgu ei deulu i ofni yr Arglwydd. A phwy a all ddesgrifio llawenydd a syndod ei berthynasau wrth ei weled yn dychwelyd adref, "yn ei ddillad, a'i iawn bwyll," a'i glywed yn adrodd hanes ei waredigaeth, ac yn canmol ei Waredwr? Byddai ei

ddyfodiad adref bob amser o'r blaen yn ddychryn i'w wraig a'i blant. Rhedent i ymguddio am eu bywyd mor fuan ag y gwelent ef yn dyfod i olwg y tŷ; canys byddai arnynt ofn iddo eu lladd bob un. Ond y fath gyfnewidiad dedwydd sydd yma heddyw! Y mae efe a'i deulu yn cyd-blygu o amgylch yr allor deuluaidd i ddiolch i Dduw am ei drugaredd, a dyna lle buont yn molianu ac yn gorfoleddu am oriau lawer.

Wrth ddiweddu, dymunwn ofyn yn ddifrifol, A ydym ni wedi ein gwaredu allan o feddiant y tywyllwch, a'n symud i deyrnas anwyl Fab Duw? Y mae hyn yn annhraethol bwysicach na chael ein gwaredu o dŷ fyddai ar dân, neu long fyddai ar suddo. Os wedi ein gwaredu, bydded i ni ymdrechu gwasanaethu yr Arglwydd, yn neillduol trwy "arfer duwioldeb gartref;" a "mynegi rhinweddau yr hwn a'n galwodd allan o dywyllwch i'w ryfeddol oleuni ef." (1 Pedr ii. 9.)

# XIV.

# BYWHAU MERCH JAIRUS.

*"Ac wele, un o benaethiaid y synagog a ddaeth, a'i enw Jairus: a phan ei gwelodd, efe a syrthiodd wrth ei draed ef. Ac efe a fawr ymbiliodd âg ef, gan ddywedyd, Y mae fy merch fechan ar drangc: attolwg i ti ddyfod, a dodi dy ddwylaw arni fel yr iachâer hi; a byw fydd, &c."*

MARC v. 22—43. [MATH. ix. 18, 23—26; LUC viii. 41—56.]

CYFLAWNWYD y wyrth hon yn fuan wedi i'r Iesu ddychwelyd i Capernaum o wlad y Gadareniaid. Gwir fod Mathew yn gosod amryw ddygwyddiadau rhwng y ddau amgylchiad yma; ond nid yw yr Efengylwr wedi amcanu cyfleu y dygwyddiadau yn yr hanes yn eu trefn amseryddol; ac y mae yn debygol mai y wledd yn nhŷ Mathew oedd yr unig un o'r pethau hyn a gymerodd le yn y cyfamser rhwng dyfodiad yr Iesu drosodd o Gadarenia a bywhâd merch Jairus. Yr oedd Jairus yn "llywodraethwr, neu yn un o "benaethiaid, y synagog" yn Capernaum. Gwaith y cyfryw oedd edrych ar ol y synagog, trefnu y gwasanaeth, barnu rhwng y rhai a ddygwyddent ymrafaelio, a cheryddu a diarddel troseddwyr. Yr oedd Jairus, gan hyny, yn llenwi swydd dra phwysig, ac anrhydeddus; ac yn ŵr o barch a dylanwad mawr yn y ddinas—yr ydoedd rywbeth yn debyg i hedd-ynad *(magistrate)* yn ein gwlad ni. Y mae yn debyg ei fod yn un o'r "henuriaid" hyny oeddynt wedi bod gyda'r Iesu, yn ymbil arno dros y canwriad. (Luc vii. 3.) Ond yn awr y mae yn dyfod at yr Iesu ar neges pwysig drosto ei hun. Yr oedd ei ferch fechan,—ei unig ferch,—a hono yn ddeuddeg mlwydd oed, *yn marw*. Oedran anhawdd iawn ymadael â phlentyn yw hwn; canys y mae plentyn o'r oedran yma wedi cael hir amser i wreiddio yn ddwfn yn serchiadau ei rieni,—wedi codi ynddynt lawer o obeithion

a dysgwyliadau—ac heb wneuthur dim eto i'w siomi a'u gofidio. Diau fod y ferch fechan yma fel canwyll llygad ei thad a'i mam. Addawent iddynt eu hunain lawer o gysur oddiwrthi. Dysgwylient ei chael hi i weini iddynt yn eu hen ddyddiau, ac i gau eu llygaid pan y byddent yn huno yn yr angeu. Ond mor ansicr a diflanedig yw pob cysur daearol! Y mae ein bywyd ein hunain, a bywyd ein cyfeillion, yn beth rhy frau i hyderu a phwyso arno. Wele ferch Jairus, fel blodeuyn prydferth yn gwywo cyn cyflawn ymagor. Dïau i feddygon goreu Capernaum gael eu galw ati; ond chwarddai angeu am ben eu holl ymdrechion. Safai ei thad a'i mam wrth ei gwely, ddydd a nos, i'w gwylio, mewn trallod a phryder annesgrifiadwy. Myned waethwaeth yr ydoedd yn barhâus; a phan oedd hi yn ol pob ymddangosiad *yn* marw, y mae Jairus yn clywed fod yr Iesu newydd ddyfod i'r ddinas, a'i fod yn nhŷ Mathew, ac y mae yn gobeithio y gwna y Proffwyd mawr, a iachâodd was y canwriad, mewn atebiad i'w eiriolaeth ef, a'i gydhenuriaid, iachâu ei ferch fechan yntau, sydd yn gorwedd ar drangc. Y mae yn prysuro, gan hyny, at yr Iesu, ac yn syrthio wrth ei draed a'i addoli. Golygfa brydferth oedd gweled gŵr bonheddig fel hyn, yn meddu digon o barch i Grist, yn nghanol ei dlodi, i syrthio ar ei liniau o'i flaen. Dichon na welsid byth mo hono ar ei liniau, wrth draed y Gwaredwr, oni buasai y brofedigaeth chwerw a'i cyfarfu. Os yw ein cystuddiau ninau yn ein dwyn at orseddfainc y gras, neu yn peri i ni weddio yn fwy mynych, ac yn fwy taer, y maent yn fendith ini. Dylai rhïeni hefyd ddilyn esiampl Jairus, trwy fyned at yr Arglwydd yn achos eu plant, sydd "yn feirw mewn camweddau a phechodau;" canys y mae bod eu heneidiau yn nghafael marwolaeth ysbrydol, yn llawer gwaeth na phe buasai eu cyrff yn feirw. Trueni mawr, gan hyny, fod cyn lleied o alar a gofid yn achos y rhai sydd yn feirw mewn ystyr ysbrydol.

Mae yn amlwg fod Jairus yn meddu ffydd yn ngallu goruwchnaturiol Crist; canys yr oedd yn credu y medrai

efe iachâu ei ferch wedi i bob moddion dynol fethu, a phan oedd hi *yn marw*. Yr oedd y penaeth wedi gweled yr Iesu yn bwrw ysbryd aflan allan o ryw ddyn yn y synagog ychydig amser yn ol. (Marc i. 23—27.) Y mae yn debyg hefyd, fel yr awgrymwyd, ei fod yn gwybod am iachâd gwas y canwriad, a gwyrthiau eraill. Yr oedd y gweithredoedd nerthol hyn wedi bod yn foddion i blanu hedyn ffydd yn ei galon; ond yr oedd yn rhaid cael y brofedigaeth chwerw, yr ydoedd ynddi yn awr, i beri i'r ffydd guddiedig honó dyfu a dwyn ffrwyth. Y mae yn gyffelyb yn aml gyda llawer eto. Ond er fod Jairus yn meddu ffydd, yr oedd yma lawer o wendid ac anmherffeithrwydd yn gymysgedig â'i ffydd; canys yr oedd yn meddwl fod yn angenrheidiol i'r Iesu ddyfod i'w dŷ, a dodi ei ddwylaw ar yr eneth, mewn trefn i'w hiachâu: "*Attolwg i ti ddyfod a dodi dy ddwylaw arni*," meddai. Mor wan oedd ei ffydd mewn cymhariaeth i ffydd y canwriad. "Arglwydd," meddai hwnw, "nid ydwyf fi deilwng i ddyfod o honot dan fy nghronglwyd: *eithr yn unig dywed y gair, a'm gwas a iacheir*." Ond er fod ffydd Jairus yn wan ac anmherffaith y mae yr Iesu yn gwrando ei weddi, ac yn cyfodi yn y fan oddiwrth fwrdd y wledd yn nhŷ Mathew i fyned gydag ef. Dyma galondid a chysur cryf i ninau i ddweyd ein cwyn wrtho, mewn trallod, er gwnaed ein ffydd. Gallasai efe iâchâu merch Jairus â'i air, yn y man lle yr ydoedd, ond gan fod y tad trallodus yn tybied fod ei bresenoldeb corfforol yn angenrheidiol, y mae yr Iesu yn ei diriondeb a'i gydymdeimlad, yn ymostwng at wendid ei ffydd; "canys nid oes i ni Archoffeiriad heb fedru cyd-ddyoddef gyda'n gwendid ni;" &c. (Heb. iv. 15.)

Yr oedd tyrfa fawr yn dilyn yr Iesu trwy yr heolydd tua thŷ y llywodraethwr, oddiar awydd i gael boddloni eu cywreinrwydd trwy weled gwyrth yn cael ei gwneuthur. Yn y dyrfa, wele wraig oedd mewn diferlif gwaed, yn ymwthio yn mlaen ac yn cyffwrdd ag ymyl gwisg yr Iesu. Mae yr Iesu yn sefyll ac yn troi i ymholi pwy a gyffyrddasai

ag ef. Fel y sylwai un, ni byddai Crist byth mewn brys, am ei fod yn wastad yn ddigon o feistr ar ei waith. Ond yr oedd yr oediad yma ar y ffordd yn brofedigaeth danllyd i Jairus. Yr oedd ei blentyn *yn marw* pan gychwynasai o'r tŷ: meddyliai y tad trallodus, gan hyny, nad oedd moment i'w cholli. Pe buasai yr Iesu yn prysuro yn mlaen yn ddiymdroi gallasai gyrhaedd y tŷ mewn pryd cyn i'r eneth dynu ei hanadl olaf; ond yr oedd y tad yn teimlo y gallai yr ychydig fynydau yma o oediad ar yr heol gostio bywyd ei blentyn iddo; canys nid yw yn debyg ei fod wedi meddwl y buasai yr Iesu yn ei bywhâu, os byddai wedi marw cyn iddynt gyrhaedd y tŷ. Ond nid oes hanes iddo ddweyd yr un gair mewn ffordd o rwgnach am fod yr Iesu yn ymdroi, nac iddo feio y wraig am ei atal fel hyn ar y ffordd, o dan y fath amgylchiadau. Ond os oedd oediad Crist yn profi ffydd Jairus, y mae yn ddiau i'r wyrth hon a gyflawnwyd ganddo ar yr heol fod yn foddion i gryfhâu llawer ar ei ffydd. Tra yr oedd yr Iesu yn ymddyddân â'r wraig a iachasid ganddo, wele y newydd galarus yn cael ei ddwyn i gyfarfod Jairus fod ei ferch fechan *wedi marw; "Ac efe eto yn llefaru, daeth rhai o dŷ penaeth y synagog, gan ddywedyd, Bu farw dy ferch: i ba beth eto yr aflonyddu yr Athraw?"* 'Y mae y cwbl drosodd acw; ac y mae yr Athraw yn edrych yn ddigon lluddedig; gwell i ti, gan hyny, beidio ei drafferthu i ddyfod cyn belled â'r tŷ; canys ni wna ei bresenoldeb bellach ond chwanegu gofid dy briod, wrth ei weled yn dyfod yn rhy ddiweddar.' Yr oedd y rhai hyn yn credu, pe buasai Crist yn cyrhaedd y tŷ cyn i'r eneth farw, y gallasai chwythu y wreichionen fechan o fywyd oedd ynddi yn fflam; ond nid oedd ganddynt un dychymyg y medrai efe ail gyneu y wreichionen hono wedi iddi lwyr ddiffoddi. Gwelai yr Iesu fod perygl i'r genadwri bruddaidd lethu ffydd Jairus; ac am hyny "*yr Iesu yn ebrwydd wedi clywed y gair a ddywedasid, a ddywedodd wrth benaeth y synagog, Nac ofna; cred yn unig.*" Gwelwn yma dosturi a chydymdeimlad yr Iesu, yn ei waith yn

gwneud y fath frys i galonogi a chysuro y tad trallodus, cyn i anghrediniaeth gael amser i ymosod arno. Ac yr ydym yn dysgu yma hefyd mai y ffordd i fwynhâu tangnefedd, yn ngwyneb pob peth fyddo yn tueddu i'n digaloni a'n terfysgu, yw meddu ffydd gadarn yn Nghrist. Mae ffydd gref yn ymlid ofnau ac amheuon ymaith, fel y mae pelydrau dysglaer yr haul yn gyru tywyllwch y nos ar ffo. "Ti a gedwi mewn tangnefedd heddychol yr hwn sydd a'i feddylfryd arnat ti; am ei fod yn ymddiried ynot." (Esaiah xxvi. 3.)

"*Ac ni adawodd efe neb i'w ddilyn, ond Pedr, ac Iago, ac Ioan brawd Iago.*" Dyma y tri a fuont hefyd yn dystion o'i weddnewidiad ar y mynydd, a'i ing yn yr ardd. (Math. xvii. 1, 2; xxvi. 37.) Yr oedd gan yr Iesu ei resymau, er nad ydyw wedi gweled yn dda eu datguddio i ni, dros ddethol y tri hyn o blith ei ddysgyblion i fod gydag ef ar yr achlysuron mwyaf cysegredig yn ei fywyd, yn dystion o'r amlygiadau rhyfeddaf o'i allu,—o'i ogoniant,—ac o'i ing. Y mae yn debyg fod yn anwylach gan yr Iesu am y rhai hyn na'r lleill; a bod rhyw gymhwysder neillduol ynddynt i fod yn dystion o'r golygfeydd hyn. Wedi i'r Gwaredwr gyrhaedd y tŷ, y mae yn ei gael yn llawn o alarwyr cyflogedig, yn ol yr arferiad yn mhlith yr Iuddewon: "*Ac efe a ddaeth i dŷ penaeth y synagog, ac a ganfu y cynhwrf, a'r rhai oedd yn wylo, ac yn ochain llawer. Ac wedi iddo fyned i mewn, efe a ddywedodd wrthynt, Paham y gwnewch gynhwrf, ac yr wylwch? ni bu farw yr eneth, eithr cysgu y mae.*" Nid ydym i feddwl am foment fod yr Iesu yn gwahardd pob math, a phob gradd, o alar a thristwch ar ol y marw. Ond galarwyr cyflogedig oedd y rhai hyn; yr oeddynt "yn wylo, ac yn ochain llawer" pan nad oedd dim wylo nac ochain ar eu calonau, ac yr oedd ei enaid sanctaidd ef yn ffieiddio pob twyll a rhagrith. Dichon iddo ddweyd hyn hefyd i'r dyben o'u profi, a chael eu tystiolaeth fod yr eneth wedi marw, pan yr oedd efe yn dweyd mai cysgu yr ydoedd. Dywedodd hyn cyn myned i olwg yr eneth. Nid oedd efe yn golygu

mai mewn cwsg naturiol yr oedd ; ond ei feddwl oedd nad oedd ei marwolaeth ond megys cwsg, am y byddai iddo ef ei deffro drachefn, yn mhen ychydig fynydau, a hyny mor hawdd ag y gall y fam ddeffro ei baban diniwed fyddo yn cysgu yn ei gryd.* "*A hwy a'i gwatwarasant ef, am iddynt wybod ei marw hi.*" Chwarddent am ei ben, fel un allan o'i bwyll. 'Pa beth,' meddynt, 'a yw efe yn meddwl na welsom ni erioed gorff marw? ac na wyddom ni ddim gwahaniaeth rhwng cwsg a marwolaeth? Os bu neb erioed farw, y mae hon wedi marw.' Fel hyn y mae Crist yn llwyddo i enill tystiolaeth y rhai hyn fod yr eneth wedi marw mewn gwirionedd, ac felly pan y gwelent hi yn fyw drachefn, ni feiddient wadu nad oedd yma wyrth wirioneddol wedi ei chyflawni. Y mae yr Iesu yn bwrw yr holl watwarwyr allan o'r tŷ, am na buasai gwneud gwyrth yn ngolwg y rhai hyn yn ddim amgen na thaflu gemau o flaen moch. Yna y mae yn cymeryd y tri dysgybl oedd gydag ef, a thad a mam yr eneth, ac yn myned i mewn i'r ystafell lle yr oedd y corff yn gorwedd, ac wedi ymaflyd yn llaw oer yr eneth, efe a ddywedodd, gyda dwyfol awdurdod, "*Yr eneth (yr wyf yn dywedyd wrthyt) Cyfod.*" Ac ar y gair, wele y gwaed yn dechreu cylchredeg, y gwrid yn dychwelyd i'r gruddiau gwelw, a'r eneth yn agor ei llygaid, yn cyfodi o'i gwely, ac yn rhodio o amgylch yn berffaith iach. Mor effeithiol a raid fod yr olygfa! Pan agorodd yr eneth ei llygaid, rhyfeddai pwy oedd y gŵr dieithr a safai wrth erchwyn y gwely, ac a ymaflai yn ei llaw, a phwy oedd y diethriaid eraill a welai yn

* Gwir y tybia rhai fod y geiriau, "Ni bu farw yr eneth, eithr cysgu y mae," yn arwyddo mai mewn math o lewyg (*trance*) yr oedd hi, ac felly na bu yma adgyfodiad gwirioneddol o farw. Ond fel y sylwa Olshausen, pe caniateid hyny, byddai yn rhaid addef wed'yn fod yma wyrth ddeublyg, sef gwyrth o Hollwybodaeth, a gwyrth o Hollalluowgrwydd. Yr oedd pawb yn credu yn ddiamheuol fod yr eneth wedi marw mewn gwirionedd, ond os yw y geiriau, "Ni bu farw yr eneth-eithr cysgu y mae," yn golygu mai mewn llewyg yr ydoedd, yna y mae yn rhaid addef fod gwaith yr Iesu yn medru hysbysu mai mewn llewyg yr oedd, *a hyny cyn myned i'w golwg*, yn brawf o'i Hollwybodaeth, a buasai ei chodi, hyd yn nod o'r cyflwr hwnw, i fwynhâd o berffaith iechyd, ar unwaith, yn amlygiad o allu goruwchnaturiol. Ond y golygiad cyffredin, sef fod yr eneth wedi marw yn wirioneddol, a ymddengys i mi y tebycaf o lawer i fod yn gywir.

yr ystafell. A dïau y buasai yr eneth fach yn dychrynu wrth agor ei llygaid yn nghanol dieithriaid, oni buasai fod y Gwaredwr tirion wedi cymeryd ei thad a'i mam gydag ef i'r ystafell. Y mae ei rhïeni a hithau yn cofleidio ac yn cusanu eu gilydd, ac yn syrthio wrth draed yr Iesu i ddiolch iddo, a'i addoli. "*A synu a wnaeth arnynt â syndod mawr.*" Yr oedd y peth mor rhyfedd fel yr oeddynt bron yn barod i feddwl mai breuddwyd ydoedd. Ond os oedd y syndod yn gymaint wrth ei weled yn adgyfodi un o farw, beth fydd y syndod pan y gwelir ef yn adgyfodi byd o feirw? "Y mae yr awr yn dyfod, yn yr hon y caiff pawb ar sydd yn y beddau glywed ei leferydd ef: &c." (Ioan v. 28, 29.)

"*Ac efe a orchymynodd roi bwyd iddi,*" i'r dyben yn un peth o brofi gwirionedd y wyrth, trwy ddangos mai nid drychiolaeth ydoedd, ond ei bod hi wedi ei hadgyfodi yn wirioneddol, ac wedi ei llwyr iachâu. Ac y mae yn rhoddi ar ddeall iddynt hefyd fod y bywyd oedd wedi ei adferu mewn modd gwyrthiol i gael ei gynal trwy foddion naturiol. Nid yw yr Arglwydd byth yn gwastraffu gwyrthiau i wneud yr hyn y gellir ei effeithio a'i gyflawni trwy foddion cyffredin.

Mae y gorchymyn yma hefyd yn dangos y gwahaniaeth rhwng adgyfodiad merch Jairus, â'r adgyfodiad cyffredinol, yn y dydd diweddaf. Cael ei gyfodi yn gorff anianol, fel o'r blaen, a wnaeth corff yr eneth yma, ac felly yr oedd arni eisieu bwyd ar ol ei hadgyfodiad fel cynt. Ond cyrff ysbrydol fydd cyrff y saint yn yr adgyfodiad, ac felly ni bydd arnynt byth eisieu na bwyd, na diod, na chysgu, na gorphwys.

Mae yma ddarlun o adgyfodiad ysbrydol y rhai sydd "yn feirw mewn camweddau a phechodau." Gair a chyffyrddiad Crist trwy ei Ysbryd, yw moddion eu bywhâd. Mae y cyfryw yn dangos eu bod wedi eu bywhâu, trwy gyfodi oddiwrth y meirw, a rhodio yn ngorchymynion a deddfau yr Arglwydd. Maent yn newynu ac yn sychedu am gyfiawnder, ac yn ymborthi ar Fara y bywyd, a thrwy hyny y maent yn ymgryfhâu, ac yn cynyddu mewn gras.

Y mae y wyrth hon hefyd yn dangos i ni pa le i droi am noddfa mewn trallod a chyfyngder. Awn i'r un man ag yr aeth Jairus, sef at yr Iesu. Pan y byddo ein cyfeillion a'n ceraint ar wely cystudd ac angeu, awn at yr Arglwydd yn eu hachos. Dichon na chaiff ein gweddiau ni eu hateb yn debyg fel yr atebwyd gweddi Jairus. Nid yw yr Arglwydd erioed wedi ymrwymo i arbed bywyd ein cyfeillion mewn atebiad i'n gweddiau, a rhoddi i ni beth bynag a geisiom ganddo. Buasai trwy hyny yn disgyn o'i orsedd, yn gosod awenau llywodraeth y byd yn llaw dyn, ac yn cymeryd ei reoli a'i gyfarwyddo gan ei greadur ffaeledig. Ac eto yr wyf yn credu fod yn bosibl i fywyd, fyddo yn ymddangos mewn dirfawr berygl, gael ei arbed a'i estyn mewn atebiad i "weddi y ffydd." "Llawer a ddichon taer weddi y cyfiawn." (Iago v. 16.) Ond os na chawn ein gwaredu o'n profedigaethau mewn atebiad i'n gweddiau, cawn gymhorth i'w dyoddef, a bendith arnynt i fod er ein lleshâd, fel Paul pan oedd y swmbwl yn ei gnawd. (2 Cor. xii. 8, 9.) Gan hyny nid yw gweddio mewn trallod byth yn myned yn ofer. Y mae yr Arglwydd "yn wobrwywr i'r rhai sydd yn ei geisio ef"; ac y mae yn ein gwahodd ninau ato yn ngwyneb ein holl ofidiau, gan ddywedyd, "A galw arnaf fi yn nydd trallod: mi a'th waredaf, a thi a'm gogoneddi." (Salm l. 15.)

# XV.

## IACHAU Y DIFERLIF GWAED.

"*A'r Iesu a ddywedodd, Rhyw un a gyffryddodd â mi: canys mi a wn fyned rhinwedd allan o honof.*" LUC viii. 46.

[MATH. ix. 20—22; MARC v. 25—34.

AR un o heolydd culion Capernaum y cyflawnwyd y wyrth hon, fel yr awgrymwyd eisoes, pan oedd yr Iesu yn myned o dŷ Mathew i dŷ Jairus. Yr oedd y wraig drallodus y sonir am dani yma yn byw yn y ddinas, ac yr oedd hi wedi clywed llawer o son am weithredoedd nerthol Crist; ond y mae yn debygol nad oedd hi erioed, oherwydd natur ei hafiechyd, wedi cael y fraint o'i glywed yn pregethu, na'i weled yn gwneud gwyrth, ac eto yr oedd yr hyn a glywsai am dano yn peri iddi gredu yn gadarn y gallasai efe ei hiachâu, er mor anfeddyginiaethol oedd ei phla, pe cawsai ond cyfleusdra i fyned ato. Ond yr oedd yn anhawdd ganddi druan, dan y fath afiechyd, fyned ato yn gyhoeddus i ddweyd ei chŵyn, a cheisio iachâd. Modd bynag, un diwrnod y mae hi yn clywed ei fod yn myned trwy un o'r heolydd gerllaw ei thŷ, a thyrfa fawr yn ei ddilyn. Meddyliodd yn y fan fod rhyw obaith y gallasai hithau, yn yr amgylchiadau hyny, gyffwrdd ag ymyl ei wisg ef, heb i neb sylwi arni, ac yr oedd yn gwbl sicr ganddi, os gallai hi gyffwrdd â'i ddillad ef, y byddai hyny yn ddigon i'w hiachâu. Y mae hi, gan hyny, yn gwneud brys i ymlusgo allan i'r heol, yn llesg a gwan fel yr ydoedd: "*Pan glybu hi am yr Iesu, hi a ddaeth yn y dyrfa o'r tu ol, ac a gyffyrddodd â'i wisg ef.*" Mae yma dri pheth yn hanes y wyrth hon yn teilyngu ein sylw:—

I. Y DYODDEFYDD TRUENUS: "*A rhyw wraig yr hon a fuasai mewn diferlif gwaed ddeuddeng mlynedd, ac a oddefasai*

*lawer gan laweroedd o feddygon, ac a dreuliasai gymaint ag oedd ar ei helw, ac ni chawsai ddim llesâd, eithr yn hytrach myned waeth-waeth.*" Yr oedd y wraig yma yn ddarlun cywir o bechadur yn ei gyflwr annychweledig.

1. *Yr oedd ei hanhwyldeb o hir barhâd.* Rhaid fod y fath afiechyd, am y cyfnod maith o ddeuddeng mlynedd, wedi ei gwanychu yn ddirfawr. Ac yr oedd hir barhâd ei hafiechyd yn ei wneud yn llawer anhawddach ei feddyginiaethu. Felly hefyd, pa hwyaf y byddo dyn byw mewn pechod, anhawddaf oll yw ymadael ag ef; canys y mae arferion drwg, ac egwyddorion pechadurus, yn gwreiddio ddyfnach ddyfnach o hyd. Ond na fydded i'r rhai sydd wedi bod yn hir dan lywodraeth pechod, anobeithio; canys fel y medrodd y Gwaredwr, yn yr amgylchiad hwn, lwyr iachâu mewn moment, un oedd wedi bod bod mewn anhwyldeb a nychdod am y tymhor maith o ddeuddeng mlynedd, felly y gall efe hefyd iachâu oddiwrth bechod y rhai mwyaf anobeithiol eu cyflwr.

2. *Yr oedd hi yn aflan yn ngolwg y gyfraith.* Gwel Lef. xv. 25. Nid oedd y gyfraith yn caniatâu iddi ymddangos yn nghynteddau tŷ yr Arglwydd, i fwynhâu yr ymgeledd a'r cysur sydd i'w gael yn moddion gras. A'r un modd y mae pechod yn cau allan o bresenoldeb Duw yn y nef: canys "nid â i mewn yno ddim aflan, &c." (Dat. xxi. 27.)

3. *Yr oedd hi wedi methu cael meddyginiaeth trwy unrhyw foddion nes dyfod at Grist.* Yr oedd hi wedi rhoddi prawf ar fedrusrwydd yr holl feddygon oeddynt yn ei chyrhaedd, —wedi cymeryd llawer o gyffyriau chwerwon,—ac wedi gwario ei holl eiddo, a myned yn dlawd wrth geisio iachâd. Ond pe buasai yr holl drafferth, a'r draul yma, wedi ateb y dyben, ni buasai ganddi achos i gwyno; eithr yn lle hyny, gwanychu, a myned waeth-waeth, yr oedd y druanes yn barhaus. A'r un modd am bechadur, nid oes meddyginiaeth iddo yntau, oddiwrth bechod, yn un man ond yn Nghrist. Nis gall crefydd naturiol, nac addysg a diwylliant, ei iachâu. Fe gafodd yr hen athronwyr paganaidd

bob mantais, a chwareu teg, am gannoedd o flynyddoedd, i geisio diwygio y byd, trwy eu dysgeidiaeth a'u moeswersi; ond suddo ddyfnach ddyfnach, mewn llygredigaeth a thrueni, yr oedd y byd yn barhaus. Nid oes dim ond trefn yr efengyl yn cyrhaedd *calon* y byd, ac felly yn myned at ffynhonell a gwraidd ei drueni. Y mae llawer pechadur yn ceisio bywyd tragywyddol mewn gwahanol ffyrdd, heb ddyfod at Grist, megis trwy ei weithredoedd ei hun, a thrwy wrando, a phroffesu, &c., yn lle trwy gredu. Ond myned waeth-waeth a wna ei gyflwr o hyd, nes y delo at Fab Duw: "Ac nid oes iechydwriaeth yn neb arall," &c. (Act. iv. 12.)

II. Ei hiachad dirgelaidd.

1. *Dull ei dyfodiad at Grist: "hi a ddaeth yn y dyrfa o'r tu ol."* Yr oedd gwylder ac ofn yn ei hatal i ddyfod yn gyhoeddus ato, ac felly y mae teimlad o'i bechadurusrwydd a'i annheilyngdod, yn peri i lawer pechadur nesu mewn ofn a chywilydd, yn lle myned "yn *hyderus* at orseddfainc y gras;" ac eto y mae y cyfryw un, fel y wraig hon, yn cael trugaredd a bendith. Mae dull dyfodiad y wraig yma at yr Iesu, yn arwyddo iddi wneud ymdrech i dori trwy lawer o anhawsderau i ddyfod ato. Nid gorchwyl hawdd, i'r druanes wanaidd a nychlyd yma, oedd ymwthio at y Gwaredwr trwy y dyrfa oedd yn awr yn ei wasgu. Dichon fod tyrfa fawr o demtasiynau, o ofalon, ac o ofnau, rhyngom ninau ag ef, ond penderfynwn ymwthio trwyddynt, fel y gwnaeth y wraig hon.

2. *Ei chyffyrddiad ffyddiog ag ymyl ei wisg ef:* "hi a ddaeth yn y dyrfa o'r tu ol, *ac a gyffyrddodd â'i wisg ef. Canys hi a ddywedasai, Os cyffyrddaf â'i ddillad ef, iach fyddaf.*" Cyffyrddodd yn ysgafn â'r eddi, neu yr ymylwe *(fringe)* oedd ar odre ei wisg. (Num. xv. 38; Deut. xxii. 12.) Pe buasai yn gofyn i feddygon y ddinas, A oeddynt yn meddwl y buasai cyffwrdd ag ymyl gwisg yr Iesu yn effeithiol i'w hiachâu, y mae yn debygol y buasent yn chwerthin am ei phen, gan dybied ei bod hi allan o'i phwyll. Ond er mor anfeddyginiaethol oedd ei hafiechyd, yr oedd ganddi gymaint

o ffydd yn ngallu Crist i iachâu, fel yr oedd hi yn credu y byddai cyffwrdd yn unig ag ymyl ei wisg ef yn ddigon i ddwyn perffaith iachâd iddi. Yr ydym yn darllen am lawer yn meddu ffydd gref yn nghyffyrddiad llaw yr Iesu, ac yr oedd gan y canwriad ffydd fawr yn effeithioldeb ei air; ond nid oedd hon yn meddwl fod eisieu iddo ddodi ei law arni, na dweyd yr un gair wrthi. "Ffydd sydd trwy *glywed*," ac y mae yn debyg, gan hyny, ei bod hithau wedi clywed am rai oeddynt wedi cael eu hiachâu trwy gyffwrdd â'i ddillad ef. (Luc vi. 19.) Y mae eisieu i ninau feddu ffydd fel y wraig yma, i gyffwrdd â'r wisg o gnawd sydd am y Gwaredwr, ac i ymwneud yn ffyddiog â'i air, a'i ordinhadau. "Ymafled yn fy nerth i," &c. (Esaiah xxvii. 5.)

3. *Y cyfnewidiad dedwydd a deimlodd hi yn y fan: "Ac yn ebrwydd y sychodd ffynhonell ei gwaed hi: a hi a wybu yn ei chorff ddarfod ei hiachâu o'r pla."* Diau mai gyda llaw grynedig y cyffyrddai y wraig druan â'r eddi, neu y ridens, oedd ar odre gwisg yr Iachawdwr; ond y foment y gwnaeth hi hyny O! y teimlad dedwydd a ddaeth drosti. Hi a wybu yn y fan ei bod hi wedi ei llwyr iachâu. A'r un modd, y fynyd y mae pechadur euog yn credu yn Nghrist, y mae yn cael ei gyfiawnhâu yn y fan, a'r euogrwydd oedd wedi bod yn gorwedd ar ei gyflwr am flynyddoedd yn cael ei symud; ac mor hyfryd a gwerthfawr yw i bechadur wybod trwy brofiad, fel y wraig hon, fod Ysbryd Crist wedi gwneud rhyw gyfnewidiad bendigedig ynddo, ac arno! "Yr hwn sydd yn credu yn Mab Duw, sydd ganddo y dystiolaeth ynddo ei hun." (1 Ioan v. 10.)

III. Y MODD Y GWNAED Y WYRTH YN ADNABYDDUS: "*Ac yn y fan, yr Iesu, gan wybod ynddo ei hun fyned rhinwedd allan o hono, a drodd yn y dyrfa, ac a ddywedodd, Pwy a gyffyrddodd â'm dillad?*" Mae y pethau canlynol i'w gweled yn y rhan yma o'r hanes:—

1. *Ymwybodolrwydd yr Iesu: "gan wybod ynddo ei hun fyned rhinwedd allan o hono."* Mae hyn yn arwyddo fod y gallu gwyrthiol yn preswylio yn hanfodol yn Nghrist ei

hun, ac mai nid ei dderbyn oddiwrth arall yr ydoedd, fel y proffwydi a'r apostolion. Nid ydym i feddwl fod y rhinwedd hwn yn myned allan o hono o angenrheidrwydd, ac heb fod ganddo ef un ewyllys na bwriad yn y mater, yn debyg fel y mae y gwres a'r goleuni yn dylifo o'r haul, neu fel y mae yr arogl hyfryd yn dylifo yn barhaus o'r rhosyn, neu fel y mae gwefr-beiriant (*electric battery*) yn gweithredu pan gyffyrddir ag ef. Na, y mae y rhinwedd sydd ynddo ef o dan reolaeth ei ewyllys sanctaidd, ac yn cael ei gyfranu ganddo o'i ddewisiad i bwy bynag a gyffryddo ag ef â llaw ffydd. Y mae "yn dysgwyl i drugarhâu," ac y mae yn hoffi cyfranu o'r rhinwedd sydd ynddo. Gall yr holl gredinwyr ddweyd, "Ac o'i gyflawnder ef y derbyniasom ni oll." (Ioan i. 16.) Ond er cymaint o rinwedd sydd wedi myned allan o hono, y mae ei gyflawnder ef yn parhâu yn ddileihâd, fel y mae yr haul yn parhau yn llawn goleuni o hyd, er goleuo byd cyfan bob dydd er ys oesau lawer.

2. *Ymofyniad yr Iesu: "Pwy a gyffyrddodd â mi?"* Gofynai hyn, nid am na wyddai, ond oherwydd ei fod yn ewyllysio i'r wraig gyffesu â'i genau, yn gystal â chredu â'i chalon. (Rhuf. x. 9.) Pe cawsai y wraig fyned ymaith yn ddirgelaidd heb iddo ddweyd dim wrthi, buasai yn ymadael heb ddim ond haner bendith, a buasai yn teimlo rhyw anesmwythder parhâus rhag ofn ei bod hi wedi gwneuthur o'i lle, wrth wneud rhywbeth tebyg i ladrata ei hiachâd. Ond yr oedd yr Iesu am gael achlysur a chyfleusdra i dawelu ei hofnau, a chanmol ei ffydd; ac i'w dwyn i adnabyddiaeth helaethach o hono ei hun, trwy ddatguddio ei hollwybodaeth iddi, er mwyn iddi gael iechydwriaeth enaid, yn gystal â iachâd corfforol. Ac yr ydoedd am i'r wyrth gael ei gwneud yn adnabyddus er lles a chalondid i eraill. (Math. xiv. 36.)

3. *Tystiolaeth yr Iesu yn nghylch y gwahaniaeth sydd rhwng ei wasgu a'i gyffwrdd*: "A dywedodd yr Iesu, Pwy yw a gyffyrddodd â mi? Ac a phawb yn gwadu, y dywedodd Pedr, a'r rhai oedd gydâg ef, *O Feistr, y mae y bobloedd yn dy*

*wasgu, ac yn dy flino; ac a ddywedi di, Pwy yw a gyffyrddodd â mi? A'r Iesu a ddywedodd, Rhyw un a gyffyrddodd â mi.*" Yr oedd yno lïaws mor agos ato yn allanol â hithau, a dichon fod rhyw anhwyldeb yn blino llawer o honynt, ond ni chawsant unrhyw lesâd trwy *wasgu* yr Iesu, yn ddamweiniol a difwriad, am nad oeddynt, fel y wraig hon, yn ei gyffwrdd trwy ffydd. Yr oedd yno lawer yn ei wasgu heb geisio, ond *un* o'r dyrfa yn unig a gyffyrddodd ag ef â llaw ffydd. Y mae llawer eto yn *gwasgu* yr Iesu, trwy ddyfod i foddion gras, ac ymwneud â'r ordinhadau, ond nid ydynt yn derbyn bendith a lles, am nad ydynt yn ymwneud yn ffyddiog ag ef. Ffydd yw y gwefr-gludydd (*electric conductor*) sydd yn cario y fendith o galon y Gwaredwr i galon y pechadur.

4. *Cysur a chanmoliaeth yr Iesu i'r wraig:* Edrychodd o'i amgylch, a sefydlodd ei lygad arni, i arwyddo iddi ei fod yn gwybod mai hi oedd yr hon a gyffyrddasai âg ef. "*A phan welodd y wraig nad oedd hi guddiedig, hi a ddaeth dan grynu, ac a syrthiodd ger ei fron ef, ac a fynegodd iddo yn ngwydd yr holl bobl, am ba achos y cyffyrddasai hi âg ef, ac fel yr iachâsid hi yn ebrwydd.*" Ofnai ei bod hi wedi ei ddigio, trwy gymeryd ffordd na ddylasai i geisio iachâd. Ond yn lle ei cheryddu fel yr oedd hi yn ofni y mae yr Iesu yn ei chysuro a'i chanmol. Yr oedd yma wendidau ynddi. Y mae yn debygol ei bod hi, druan, yn meddwl fod rhyw swyn, neu rinwedd naturiol, yn ngwisg yr Iesu, fel y mae miloedd o Babyddion coel-grefyddol yn tybied fod rhyw rinwedd mewn creiriau *(relics)*, neu weddillion seintiau. Ymddengys ei bod hi yn meddwl hefyd y gallasai gyffwrdd ag ymyl ei wisg heb yn wybod iddo. Ond yn lle condemnio y pethau oedd yn feius ynddi, y mae efe, yn ei anfeidrol dynerwch, yn canmol ei ffydd. "*Yntau a ddywedodd wrthi, Cymer gysur, ferch; dy ffydd a'th iachâodd: dos mewn tangnefedd.*" Ei ffydd hi oedd yr achos *offerynol*, ond rhinwedd a gallu Crist oedd yr achos *effeithiol*, o'i hiachâd. Y llygad sydd yn gweled, ond i'r haul yr ydym yn ddyledus am oleuni i

weled. Felly hefyd ffydd sydd yn cadw ac yn cyfiawnhâu y credadyn, am mai hi yw y llaw sydd yn derbyn, ac yn gwisgo cyfiawnder Crist. Y mae yn wir fod credu yn rhyw fath o weithred, ond nid yw yn weithred sydd yn haeddu dim, mwy nag y mae cardotyn yn haeddu ei wobrwyo am estyn ei law i dderbyn elusen. "Canys trwy ras yr ydych yn gadwedig, trwy ffydd: a hyny nid o honoch eich hunain: rhodd Duw ydyw." (Eph. ii. 8.)

## XVI.

## RHODDI EU GOLWG I DDAU DDEILLION.

"*A phan oedd yr Iesu yn myned oddi yno, dau ddeillion a'i canlynasant ef, gan lefain a dywedyd, Mab Dafydd, trugarhâ wrthym. Ac wedi iddo ddyfod i'r tŷ, y deillion a ddaethant ato: a'r Iesu a ddywedodd wrthynt, A ydych chwi yn credu y gallaf fi wneuthur hyn? Hwy a ddywedasant wrtho, Ydym, Arglwydd. Yna y cyffyrddodd efe â'u llygaid hwy, gan ddywedyd, Yn ol eich ffydd bydded i chwi, &c.*"

MATH. ix. 27–31.

NID oes yr un arall o'r Efengylwyr yn adrodd hanes y wyrth hon. Mae llawer iawn o wyrthiau yr Arglwydd Iesu heb eu cyfnodi o gwbl, gan yr un o honynt. Tueddwyd meddyliau yr ysgrifenwyr sanctaidd, gan yr Ysbryd Glân, i ddethol nifer fechan mewn cymhariaeth o'i weithredoedd nerthol a rhyfedd, rhag chwyddo yr hanes am dano i amryw gyfrolau, fel y buasai yn anhawdd i'r tlodion gael arian i'w brynu, nac amser i'w ddarllen. (Ioan xxi. 25.) Yr oedd gwahanol achosion yn peri fod dallineb yn beth llawer mwy cyffredin yn ngwledydd y Dwyrain nag ydyw yn ein gwlad ni. Y mae genym hanes amryw o'r proffwydi a'r apostolion yn iachâu gwahanol glefydau, ac hyd yn nod yn cyfodi rhai o feirw yn fyw drachefn; ond y mae yn ffaith dra hynod nad ydym yn darllen i neb o honynt hwy erioed agoryd llygaid y deillion. Ond yr oedd y proffwyd wedi rhag-fynegi y byddai i'r Messiah wneud hyny (Esaiah xxxv. 5; xlii. 7); a mynych yr ydym yn darllen am dano yn yr Efengylau yn amlygu ei allu a'i drugaredd trwy roddi eu golwg i'r deillion. Hon oedd y wyrth *gyntaf* o'r fath y mae genym hanes am dani.

"*A phan oedd yr Iesu yn myned oddi yno*"—sef o dŷ Jairus, y mae yn debyg, ond nis gellir bod yn sicr o hyn—"*dau ddeillion a'i canlynasant ef, gan lefain a dywedyd, Mab Dafydd,*

*trugarha wrthym.*" Mae eu cyfarchiad yn dangos eu bod yn credu mai yr Iesu oedd y Messiah; canys un o deitlau y Messiah oedd Mab Dafydd (Pen. xii. 23.) Yr oeddynt yn credu hyn ar dystiolaeth eraill, heb erioed weled yr un o'i wyrthiau eu hunain, mwy nag yr ydym ninau wedi eu gweled, ac nid oedd arnynt gywilydd ei arddel a'i gyffesu yn gyhoeddus, yn ngŵydd dynion, ar hyd heolydd Capernaum, er fod blaenoriaid y genedl yn haeru mai twyllwr a chablwr ydoedd. Mae yn ymddangos na wnaeth yr Iesu ar y dechreu un sylw o'u cais, ond cerddai yn mlaen heb gymeryd arno eu clywed; ac felly yr ydoedd yn profi eu ffydd a'u taerineb, rywbeth yn debyg fel y gwnaeth â'r wraig o Ganaan ar ol hyn. (Math. xv. 23.) Ond yn lle digaloni yn ngwyneb ei ddistawrwydd, y maent yn parhâu i'w ddilyn trwy yr heolydd, dan "*lefain*" am drugaredd. Ac y mae eu taerineb a'u dyfalbarhâd yn esiampl i ninau. "Efe a ddywedodd hefyd ddameg wrthynt, fod yn rhaid gweddio yn wastad ac heb ddiffygio." (Luc xviii. 1.)

"*Ac wedi iddo ddyfod i'r tŷ,*"—sef i'r tŷ lle y cartrefai yn Capernaum, "*y deillion a ddaethant ato: a'r Iesu a ddywedodd wrthynt, A ydych chwi yn credu,*" mewn gwirionedd, "*y gallaf fi wneuthur hyn?*" Byddai y proffwydi a'r apostolion yn gofalu am roddi ar ddeall mai nid trwy eu nerth eu hunain y cyflawnent eu gwyrthiau. (Act. iii. 12.) Ond y mae Crist yma yn gofyn i'r deillion, nid a oeddynt yn credu y gallai efe lwyddo gyda Duw i gael eu golwg iddynt, ond a oeddynt yn credu *y gallai efe ei hun* agoryd eu llygaid? Ni byddai efe byth yn ymofyn am unrhyw deilyngdod na haeddiant, yn y rhai a ddeuant ato i geisio bendithion, nac yn gwneuthur unrhyw ymholiad yn nghylch eu cymeriad blaenorol. Ffydd oedd yr unig beth a ofynai ynddynt; yr oedd yn rhaid cael hono; a dyma yn unig sydd eisieu i gael iechydwriaeth enaid ganddo. Yr oedd gan y deillion hyn ffydd i gael iachâd; canys pan ofynodd yr Iesu iddynt, A oeddynt yn credu y gallai efe agoryd eu llygaid? "*Hwy a ddywedasant wrtho, Ydym, Arglwydd.*" Nid oes yr amheuaeth

leiaf ar ein meddyliau yn nghylch hyny. "*Yna cyffyrddodd efe â'u llygaid hwy.*" Yr ydym yn darllen iddo ar achlysuron eraill ddefnyddio dwfr ei enau, (Marc viii. 23), a chlai a phoeryn (Ioan ix. 6, 7), wrth agoryd llygaid y deillion; nid am fod unrhyw rinwedd naturiol yn y pethau hyny i roddi golwg i'r dall; ond i'r dyben o gynorthwyo a chryfhâu ffydd wan y deillion. Ond yma ni ddefnyddiodd unrhyw foddion, heblaw cyffwrdd â'u llygaid, a dywedyd, "*Yn ol eich ffydd bydded i chwi.*" Mae y geiriau hyn yn dangos y berthynas sydd rhwng ffydd a bendith. Y mae yn rhaid cael ffydd cyn y ceir bendith (Iago i. 6, 7.); ac yn ol maint y ffydd y bydd maint y fendith. "Ffydd yw y piser sydd yn cael ei gollwng i waered i ffynon gras Duw," medd Trench, "heb yr hon nis gall dyn byth dynu dwfr y bywyd o ffynhonau iechydwriaeth."

"*A'u llygaid a agorwyd: a'r Iesu a orchymynodd iddynt trwy fwgwth, gan ddywedyd, Gwelwch nas gwypo neb.*" Rhoddwyd yr un gorchymyn i Jairus hefyd. Mae yn debyg fod yr Iesu yn gwahardd i'w wyrthiau gael eu gwneud yn hysbys, naill ai rhag cynhyrfu llid a chenfigen ei elynion; neu rhag rhoddi achlysur i'r bobl i'w gyhoeddi yn frenin, gan eu bod yn tybied mai Tywysog tymhorol oedd y Messiah i fod (Ioan vi. 14, 15.); neu ynte rhag peri i dorfëydd rhy lïosog ymdyru ato i geisio iachâd, nes peri anghyfleusdra a rhwystr iddo. (Marc i. 45.) Ond troseddu gorchymyn yr Iesu a wnaeth y dynión hyn; canys "*wedi iddynt ymado, hwy a'i clodforasant ef trwy yr holl wlad hono.*" Y mae yn anhawdd eu beio yn llym am eu hanufudd-dod, gan fod eu llawenydd, eu diolchgarwch, a'u cariad mor fawr fel yr oeddynt yn methu bod yn ddistaw. Ar yr un pryd yr oeddynt yn gwneuthur ar fai wrth gyhoeddi y wyrth yn groes i orchymyn Crist, er mai diolchgarwch eu calonau oedd yn eu cymhell i wneud hyny; oblegid ei air ef sydd i fod yn rhëol i ni yn mhobpeth. "Wele, gwrando sydd well nag aberth; ac ufuddhâu na brasder hyrddod." (1 Sam. xv. 22.)

# XVII.

## PORTHI PUM' MIL YN YR ANIALWCH.

"*Ac wedi gorchymyn i'r torfëydd eistedd ar y gwelltglas, a chymeryd y pum' torth, a'r ddau bysgodyn efe a edrychodd i fynu tua'r nef, ac a fendithiodd, ac a dorrodd, ac a roddes y torthau i'r dysgyblion, a'r dysgyblion i'r torfëydd. A hwynt oll a fwyttasant, ac a gawsant eu digon: ac a godasant o'r briw-fwyd oedd y'ngweddill, ddeuddeg basgedaid yn llawn.*" MATH. xiv. 19, 20.
[MARC vi. 35—44; LUC ix. 12—17; IOAN vi. 5—14.]

HON yw yr unig un o wyrthiau yr Arglwydd Iesu sydd yn cael ei hadrodd gan bob un o'r pedwar Efengylwr. Arwydda hyn fod rhyw bwys neillduol yn perthyn i'r wyrth fawr hon. Cyflawnwyd hi mewn lle anghyfanedd, yn Galilea, gerllaw dinas Bethsaida-Julias, oddeutu y *trydydd* Pasg wedi i'r Iesu ddechreu ar ei weinidogaeth gyhoeddus. Yn wir, y mae amryw esbonwyr galluog yn barnu, mai y diwrnod yr oedd Oen y Pasg yn cael ei ladd, yn y deml yn Jerusalem, y darfu i "Oen Duw," roddi yr amlygiad hwn o'i ogoniant, a datguddio ei hun fel *awdwr cynhaliaeth*, trwy borthi miloedd yn yr anialwch â'r bara a ddarparesid ganddo ef ei hun, mewn modd gwyrthiol. Yr oedd yr Iesu wedi gadael Capernaum, ac wedi croesi môr Galilea, i'r diffaethwch oedd yn agos i ben uchaf y llyn, yr ochr ddwyreiniol iddo, er mwyn cael ychydig o seibiant a gorphwysdra; a chael cyfleusdra i addysgu ei ddysgyblion, ar eu penau eu hunain, i'r dyben o'u cymhwyso yn mhellach i'r gwaith mawr a phwysig oedd ganddo iddynt. "*Ac efe a ddywedodd wrthynt, Deuwch eich hunain i le anghyfanedd o'r neilldu, a gorphwyswch encyd. Canys llawer oedd yn dyfod ac yn myned, fel nad oeddynt yn cael enyd cymaint ag i fwyta. A hwy a aethant i le anghyfanedd mewn llong o'r neilldu.*" (Marc vi. 31, 32.) Daeth y bobloedd i wybod yn fuan i ba le yr

ydoedd wedi myned, a daethant ato yn lluoedd, gan ddwyn eu cleifion gyda hwynt. Ond er fod eu dyfodiad ato yn dyrysu amcan ei fynediad i'r diffaethwch; ac er cymaint o eisieu gorphwys oedd ar ei natur, eto, yn lle digio wrthynt, a'u ceryddu, am ddyfod felly ar ei ol, i'w aflonyddu yn ei neillduedd, "*efe a dosturiodd wrthynt, ac a'u derbyniodd hwynt, ac a lefarodd wrthynt am deyrnas Dduw, ac a iachâodd y rhai oedd arnynt eisieu eu hiachâu.*" Wedi i'r dydd ddechreu hwyrhâu y mae y dysgyblion yn dyfod ato, gan ddywedyd, "*Y lle sydd anghyfanedd, a'r awr a aeth weithian heibio; gollwng y dyrfa ymaith, fel yr elont i'r pentrefi, ac y prynont iddynt fwyd. A'r Iesu a ddywedodd wrthynt, Nid rhaid iddynt fyned ymaith: rhoddwch chwi iddynt beth i'w fwyta.*" Ond ebe efe wrth Phylip, "*O ba le y prynwn ni fara, fel y caffo y rhai hyn fwyta. (A hyn a ddywedodd efe i'w brofi ef: canys efe a wyddai beth yr oedd efe ar fedr ei wneuthur.)*" Gwyddai yr Iesu pa mor wan oedd ffydd Phylip; ond yr ydoedd am roddi cyfleusdra i Phylip ei hun i wybod hyny. Yr oedd Phylip yn gwybod fod yr Arglwydd wedi porthi yr Israeliaid, am ddeugain mlynedd, â manna yn yr anialwch; ac yr ydoedd wedi gweled yr Iesu yn troi y dwfr yn win; ac yn gwneud llawer o wyrthiau eraill; a dylasai wybod fod yr hwn a welsai y prydnawn hwnw yn iachâu y cleifion oeddynt yn y dyrfa, mewn modd gwyrthiol; yn alluog hefyd i borthi y dyrfa, trwy wyrth; ond ni ddychymygodd am y fath beth; ac felly efe a atebodd, "*Gwerth dau can' ceiniog o fara* (tua chwe' phunt o'n harian ni) *nid yw ddigon iddynt hwy,*" &c. 'Edrychwch pa sawl torth sydd i'w cael yma,' ebe yr Iesu: "*Un o'i ddysgyblion a ddywedodd wrtho; Andreas, brawd Simon Pedr, y mae yma ryw fachgenyn,*" wedi dyfod o un o'r pentrefi yna i werthu bwyd, "*a chanddo bum' torth haidd, a dau bysgodyn: ond beth yw hyny rhwng cynifer?*" 'Prynwch y rhai hyny, gan y bachgenyn,' ebe yr Iesu, 'a dygwch hwynt yma i mi.' Peth anhawdd iawn yw cadw tyrfa fawr mewn trefn, yn enwedig pan fyddo bwyd yn cael ei ranu. Y mae y naill yn dueddol

iawn o ymwthio ar draws y llall, mewn amgylchiadau felly. Ond i ragflaenu pob annhrefn a chythrwfl, y mae yr Iesu yn gorchymyn i'r bobloedd eistedd yn fyrddeidiau, ar y glaswellt, fel y byddai yn hawdd i'r dysgyblion dramwy trwyddynt, i ranu y bwyd, ac fel na byddai i neb gael ei esgeuluso, nac i'r gwragedd a'r plant, a'r rhai gwanaf yn y dyrfa, gael eu gwasgu a'u llethu. Golygfa brydferth ac effeithiol oedd gweled y miloedd, ar ddiwrnod teg yn y gwanwyn, yn eistedd ar y gwelltglas, a phob llygad yn craffu ar y Gwaredwr, ac yntau yn cymeryd y torthau a'r pysgod, yn eu golwg, ac yn edrych i fynu tua'r nef, ac yn bendithio, yna yn eu tori, ac yn eu rhanu i'r dysgyblion, a'r dysgyblion i'r torfëydd. Gadewch i ni yn bresenol edrych ar rai o'r pethau a ddysgir i ni trwy y wyrth fawr hon:—

I. Mae y wyrth yma yn dangos gofal Crist am anghenion tymhorol dynion. Gwrthododd droi y cerrig yn fara, ar gais Satan, i ddiwallu ei anghenion ei hun yn yr anialwch; ond yma y mae yn gwneud gwyrth i ddiwallu anghenion ei wrandawyr. Yr ydoedd wedi bod yn porthi eu heneidiau a gwirioneddau ysbrydol, ac yn awr, ar ddiwedd yr oedfa, y mae yn porthi eu cyrff â bara a physgod. Dangosai yn y weithred hon fod ganddo ofal am gyrff dynion, yn gystal â'u heneidiau. Yr oedd y wyrth hon yn gyflawniad o'r addewid hono o'i eiddo, "Ceisiwch yn gyntaf deyrnas Dduw, a'i gyfiawnder ef; a'r holl bethau hyn a roddir i chwi yn ychwaneg." (Math. vi. 33.) Yr oedd y dyrfa fawr hon wedi dyfod ar ol yr Iesu i'r anialwch, i'r dyben o glywed geiriau bywyd tragywyddol; ac nid oeddynt yn gofalu ond ychydig, ar hyny o bryd, beth a fwytaent, na pha beth a yfent; ac felly gan eu bod, y pryd hwnw, yn ceisio yn *gyntaf* deyrnas Dduw, y mae Crist, yn ol ei addewid, yn rhoddi pethau y bywyd hwn yn ychwaneg iddynt. Y mae yr Arglwydd yn fynych eto yn dangos gofal neillduol am y rhai sydd yn myned ar ei ol i'r anialwch, trwy wynebu anfanteision a cholledion tymhorol, er ei fwyn ef a'r efengyl. Fe ddylai y gofal a ddangoswyd ganddo y

pryd hwn, ac ar achlysuron eraill, am anghenion tymhorol dynion, ein dysgu i ymddiried ynddo, a'i efelychu. 1. *Dysgwn ymddiried yn ei ofal rhagluniaethol.* Y mae efe yn alluog i'n porthi a'n diwallu, hyd yn nod yn yr anialwch, neu mewn amgylchiadau pan na byddo un ffordd o waredigaeth yn ymddangos i'n golwg ni. A phan na byddo bwyd yn y cwpbwrdd, nac arian yn y llogell, dyna yr amser i ddangos faint o hyder sydd genym yn ngofal rhagluniaeth y nef. Pan ofynwyd i un o'r ddwy fil Anghydffurfwyr, beth fyddai ganddo tuag at gynal ei deulu llïosog, os ymadawai â'i fywiolaeth gysurus, yn hytrach na thramgwyddo ei gydwybod trwy ymostwng i ddeddf orthrymus unffurfiaeth, efe a atebodd, gan ddywedyd, "Rhaid i ni ymdrechu byw oreu y gallom ar y chweched bennod o Mathew; nid oes genyf fi ddim arall i ymddibynu arno." 2. Dysgwn ddilyn esiampl y Gwaredwr, trwy *ymdrechu gwneuthur daioni i gyrff yn gystal ag i eneidiau dynion.* "Onid dyma yr ympryd a ddewisais?—Onid tori dy fara i'r newynog, a dwyn o honot y crwydriaid i dŷ? a phan welych noeth ei ddilladu?" &c. "Eithr os bydd brawd neu chwaer yn noeth, ac mewn eisieu beunyddiol ymborth; a dywedyd o un o honoch wrthynt, Ewch mewn heddwch, ymdwymnwch, ac ymddigonwch; eto heb roddi iddynt angenrheidiau y corff; pa les fydd?" (Esaiah lviii. 6, 7; Iago ii. 15, 16.)

II. Mae yn y wyrth hon amlygiad eglur o allu dwyfol Crist. Yr oedd eisieu cymaint o allu i gyflawni y wyrth hon ag oedd eisieu i greu byd; a'r un peth, o ran hyny, iddo ef yw creu byd, a chreu gwlithyn. Ond y mae yn deilwng o'n sylw, fod eisieu yr un gallu i beri i un gronyn o ŷd dyfu i fynu yn driugain, neu yn gant, o ronynau, ag oedd eisieu i wneud y pum' torth, a'r ddau bysgodyn, yn ddigon i ddiwallu y miloedd yn yr anialwch. Y mae llygad craff yr athronydd yn canfod yr hylif trydanawl, sydd yn ffurfio y mellt, hyd yn nôd yn y gwlithyn gloyw, sydd yn dysgleirio dan belydrau yr haul, ar fore teg yn yr hâf; a'r un modd, y mae llygad ffydd yn gweled gallu dwyfol yn

ngweithrediadau cyffredin rhagluniaeth, gystal ag yn ngweithredoedd nerthol Crist.

III. Mae y wyrth hon yn dangos gymaint a all pethau bychain wneud o dan fendith Crist. Fe fu y pum' torth fechan a'r ddau bysgodyn, a gariesid i'r anialwch gan fachgenyn, yn ddigon, trwy fendith Crist, i ddiwallu yr holl filoedd. Rhyfeddwn gymaint o ddefnydd a wnaeth yr Iesu o bethau mor fychain a distadl. A'r un modd, y gall rhyw draethodyn bychan, a anfonir i dŷ cymydog, yn llaw plentyn, neu ryw air bychan o gynghor, wneud daioni mawr o dan fendith Crist. Y mae y ffaith, mai gan fachgenyn, yr oedd yr ymborth ymå wedi ei gario i'r anialwch, yn awgrymu y gall plant wasanaethu Crist, a bod yn ddefnyddiol drosto.

IV. Mae y wyrth yma yn ddangosiad o'r bendithion ysbrydol sydd yn Nghrist. Un o brif ddybenion yr Iesu yn y wyrth hon oedd egluro ei hun fel "Bara y bywyd." Y mae dynolryw, mewn ystyr ysbrydol, fel dynion newynog mewn anialwch—y maent mewn angen a thrueni, ac ni fedd y byd yma ddim tuag at ddiwallu eu hangen. Ond y mae y wyrth hon yn dangos :—

1. *Cyfaddasrwydd y bendithion sydd yn Nghrist ar gyfer anghenion y byd.* Y mae llawer o lysiau na thyfant yn mhob hinsawdd; ond y mae ŷd yn beth a dyf yn mhob gwlad; ac y mae bara yn ymborth addas i hen ac ieuanc, tlawd a chyfoethog, dysgedig ac annysgedig. Yr oedd yma wragedd a phlant, yn gystal â phum' mil o wŷr, yn yr anialwch; ond yr oedd yr arlwy a ddarparodd Crist, yn berffaith gyfaddas i bob rhyw ac oedran yn y dyrfa. A'r un modd am y bendithion ysbrydol sydd ynddo.

2. *Helaethrwydd a digonolrwydd darpariadau gras.* Fel yr oedd y lluniaeth a ddarparodd Crist yma, yn llawer mwy na digon i ddiwallu yr holl dyrfa fawr, felly hefyd y mae y bendithion ysbrydol sydd ynddo, yn anfeidrol ddigon ar gyfer angen moesol y byd. "Rhyngodd bodd i'r Tad drigo o bob cyflawnder ynddo ef." (Col. i. 19.)

"Mae ynddo 'n trigo bob cyflawnder,
Llon'd gwagle colledigaeth dyn."

V. MAE Y WYRTH YN ARWYDDO FOD CRIST YN DEFNYDDIO EI BOBL YN OFFERYNAU I DDIWALLU ANGHENION Y BYD :—"*Efe a roddes y torthau i'r dysgyblion, a'r dysgyblion i'r torfëydd.*" Darparwyd yr arlwy gan Grist ei hun, mewn modd goruwchnaturiol, ond defnyddiodd ei ddysgyblion i ranu yr ymborth. A'r un modd, y mae wedi gwneud iawn ei hunan, heb gymorth neb; ond y mae yn dysgwyl i'w eglwys ymdrechu diwallu y byd â "Bara y bywyd," trwy wasgaru traethodau crefyddol,—ac anfon efengyl i baganiaid, &c. Mae hanes y dysgyblion, yn yr amgylchiad hwn, yn dysgu i ni beth yw dyledswydd yr eglwys yn ngwyneb angen y byd.

1. *Gweddïo dros y byd:* "Ac wedi ei myned hi yn hwyr, daeth ei ddysgyblion ato, gan ddywedyd, Y lle sydd anghyfanedd, a'r awr a aeth weithian heibio: gollwng y dyrfa ymaith, fel yr elont i'r pentrefi, ac y prynont iddynt fwyd." Bydded i ninau fyned ag angen ysbrydol y byd at Grist yn ein gweddïau.

2. *Teimlo ein hanallu ein hunain i ddiwallu anghenion y byd.* "Rhoddwch chwi iddynt beth i'w fwyta," ebe yr Iesu. Teimlai y dysgyblion eu hunain yn hollol analluog i gyflawni y gorchymyn hwn, ac am hyny, "*hwy a ddywedasant wrtho, Nid oes genym ni yma ond pum' torth a dau bysgodyn.*" Ond trwy gynnorthwy Crist galluogwyd hwynt i gyflawni y gorchymyn i'r llythyren. Rhaid i ninau deimlo ein gwendid. "Hebof fi," ebe Crist, "ni ellwch chwi wneuthur dim." (Ioan xv. 5.) Ond trwy ei gymorth ef gallwn wneuthur pob peth a orchymynir ganddo. (Phil. iv. 13.)

3. *Dwyn y pethau sydd genym at Grist i'w bendithio:* "Ac efe a ddywedodd, *Dygwch hwynt yma i mi.*" Awn â'r traethodau, y pregethau, a'r cynghorion, &c., at Grist, i gael ei fendith arnynt; ac yna gall y pethau mwyaf distadl wneud lles mawr. "Duw a roddes y cynydd." (1 Cor. iii. 6.)

4. *Rhanu "Bara y bywyd" i eraill, yn gystal ag ymborthi arno ein hunain.* Gallwn wneuthur hyny trwy addysgu a chynghori; a thrwy ddanfon "gair y bywyd," i'r miliwnau a ddifethir o eisieu gwybodaeth.

VI. MAE Y WYRTH YN ARWYDDO FOD Y RHAI SYDD YN CYFRANU BENDITHION I ERAILL YN SICR O FOD AR EU HENNILL WRTH WNEUTHUR HYNY: *"a hwy a godasant o'r briw-fwyd oedd yn ngweddill ddeuddeg basgedaid yn llawn."* Mae yn ymddangos i'r dysgyblion brynu y torthau a'r pysgod, gan y bachgenyn, â'u harian eu hunain; ac iddynt eu rhoddi yn ewyllysgar, ar gais yr Iesu, i'w rhanu rhwng y dyrfa newynog. Ond ni buont ar eu colled; canys yr oedd yma fwy i bob un o'r dysgyblion, yn y diwedd, nag oedd ganddynt rhyngddynt oll yn y dechreu. Dyma gyflawniad tarawiadol o'r addewid hono, "Rhyw un a wasgar ei dda, ac efe a chwanegir iddo." (Diar. xi. 24.) Mynych iawn y mae yr Arglwydd eto, yn bendithio yn ei ragluniaeth, mewn modd amlwg a neillduol iawn, y rhai sydd "yn gwasgaru, ac yn rhoddi i'r tlodion," ac yn haelionus tuag at ei achos ef. A'r un modd mewn pethau ysbrydol. Wrth ymdrechu gwneuthur daioni i eraill, byddwn yn sicr o gael lles i ni ein hunain. Gan hyny, "yn gwneuthur daioni na ddïogwn: canys yn ei iawn bryd y medwn, oni ddiffygiwn. Am hyny tra yr ydym yn cael amser cyfaddas, gwnawn dda i bawb, ond yn enwedig i'r rhai sydd o deulu y ffydd." (Gal. vi. 9, 10.)

# XVIII.

## YR IESU YN RHODIO AR Y MOR.

"*Ac yn y bedwaredd wylfa o'r nos yr aeth yr Iesu atynt, gan rodio ar y môr. A phan welodd y dysgyblion ef yn rhodio ar y môr, dychrynasant, gan ddywedyd, Drychiolaeth ydyw. A hwy a waeddasant rhag ofn. Ac yn y man y llefarodd yr Iesu wrthynt, gan ddywedyd, Cymerwch gysur: myfi ydyw; nac ofnwch,*" &c. MATH. xiv. 22—33.
[Gwel hefyd MARC vi. 45—22; IOAN vi. 14—21.]

YR ydym eisoes wedi gweled yr Iesu yn cyflawni un o'i wyrthiau rhyfeddaf ar fôr Galilea. Yn y wyrth hono ni a'i gwelsom yn cyfodi yn dawel o'i gwsg, yn nghanol y dymhestl, ac heb unrhyw drafferth na gorchest yn tawelu yr eigion cynhyrfus mewn moment â'i air. Ond yn y wyrth hon, yr ydym yn ei ganfod yn amlygu ei allu dwyfol trwy rodio ar y dyfroedd, a hyny mor rhwydd a hamddenol ag y rhodia boneddwr yn mhlith y blodau yn ei ardd,—ac y mae yn gwneuthur hyny hefyd, nid ar ddiwrnod teg, tawel, pan oedd gwyneb y môr yn llyfn fel gwydr gloyw, ond ar noswaith ystormus, pan oedd y môr yn rhuo ac yn terfysgu, a'i wyneb wedi ei orchuddio gan dònau chwyddedig a bygythiol. Wedi i'r Iesu borthi y miloedd, â'r pum' torth a'r ddau bysgodyn, y mae y bobl, ar ol gweled yr arwydd hwn a wnaethid ganddo, yn dechreu son am ei gipio i'w wneuthur yn frenin. Meddylient y gwnai frenin heb ei fath—y gallai gynal byddin o filwyr yn hollol ddidraul; ac mai peth eithaf rhwydd i un oedd yn meddu y fath allu gwyrthiol fyddai gorchfygu eu gelynion, a'u gwaredu oddiwrth iau y Rhufeiniaid. Ond yr oedd syniadau y bobl hyn yn hollol gyfeiliornus am natur teyrnas y Messiah; ac am hyny, yn lle gadael iddynt ei gyhoeddi yn frenin, "*yn y fan y gyrrodd yr Iesu ei ddysgyblion i fyned i'r llong, ac i fyned i'r làn arall o'i flaen ef, tra fyddai efe yn gollwng y torfeydd*

*ymaith.*" Dywed Marc mai Bethsaida, ger llaw Capernaum,* oedd y lle neillduol ar y làn arall, y cyfarwyddodd yr Iesu hwynt i hwylio iddo. Mae dweyd iddo eu *gyrru* ymaith, yn arwyddo eu bod braidd yn anfoddlawn i gychwyn, wrthynt eu hunain, gan adael eu Hathraw ar ol; ac y mae yn debygol hefyd eu bod yn hwyrfrydig i ymadael am eu bod yn hoffi clywed y bobl yn son am wneuthur yr Iesu yn frenin, ac yn awyddus i'w weled yn gosod i fynu deyrnas dymhorol yn y byd. Tybient fod yr adeg bwysig a hir ddysgwyliasid ganddynt, o'r diwedd wedi dyfod. Ond er eu dirfawr siomedigaeth, y mae yr Iesu yn gorchymyn iddynt gychwyn ymaith yn y llong yn ddioed; ac y mae yn deilwng o'n sylw, iddynt ufuddhâu yn y fan, er mor groes oedd hyny i'w teimladau. Wedi iddynt ymadael, y mae yr Iesu yn gollwng y torfëydd ymaith gyda gweddi neu gynghor. Fel yr oedd cysgodau yr hwyr yn ymdaenu, gwelid y miloedd yn ymwasgaru, ac yn cyfeirio yn fintcioedd tua'r gwahanol bentrefi, ar yr ochr ddwyreiniol i'r môr, dan ymddyddan â'u gilydd am y bregeth a wrandawsent, ac yn enwedig am y wyrth ryfedd ar ddiwedd yr oedfa. Hwyliai y dysgyblion hwythau, yn araf gyda'r làn nes yr aeth hi yn nos dywyll, gan ddisgwyl i'r Iesu ddyfod atynt. (Ioan vi. 17.) Ond yn lle hyny, efe a esgynodd i'r mynydd wrtho ei hun i weddïo. Yr ydoedd wedi bod yn llafurio yn galed trwy y dydd, ac y mae yn ddiamheu ei fod yn teimlo yn flin a lluddedig erbyn yr hwyr; ond er hyny, dyma fe min nos, yn lle myned i chwilio am lety i orphwys, yn esgyn i'r mynydd i ddal cymundeb dirgelaidd â'i Dad mewn gweddi. Y mae yn ddyledswydd arnom ninau ddilyn ei esiampl yn hyn, trwy weddïo llawer yn y dirgel. (Math. vi. 6.) Meddyliwn am dano ef, yn nghanol ei holl lafur, yn colli ei gysgu y nos, ac yn codi yn blygeiniol iawn, i fyned allan o'r dref i le anghyfanedd i weddïo, cyn dechreu ar waith y dydd. (Marc i. 35.) Pa faint mwy o angen gweddïo yn y dirgel sydd arnom ni, bechaduriaid, nag oedd arno ef, y "Sanctaidd, y Diddrwg, a'r Dihalog?"

* Mae cofio fod Bethsaida a Capernaum yn ymyl eu gilydd, yn symud yr anghysondeb ymddangosiadol rhwng Marc a Ioan. Cym. Marc vi. 45, a Ioan vi. 17.

Ond tra yr oedd yr Iesu ar y mynydd yn gweddïo, yr oedd y dysgyblion druain mewn tymhestl fawr ar y môr. "*A'r llong oedd weithian yn nghanol y môr, yn drallodus gan dònau: canys gwynt gwrthwynebus ydoedd.*" Meddyliwch pwy oedd yn y llong hono ar fôr Tiberias, yn cael eu lluchio a'u curo gan y tònau cynddeiriog. Yr oedd yr Iesu wedi gollwng y torfëydd ymaith yn dangnefeddus a dedwydd; ac y mae yn debygol eu bod hwy wedi cyrhaedd yn ddyogel i'w lletyâu, neu eu cartrefi, heb i'r storm eu goddiweddyd. O'r holl filoedd a fuasent yn gwrando ar yr Iesu, y prydnawn hwnw, ei ddysgyblion yn unig sydd yn gorfod ymladd â'r dymhestl. A'r un modd yn fynych eto; y mae pobl yr Arglwydd, ac anwyliaid y nefoedd, yn aml yn cyfarfod â mwy o ofidiau a phrofedigaethau na dynion eraill. "Trwy lawer o orthrymderau y mae yn rhaid i ni fyned i deyrnas Dduw." (Act. xiv. 22.) Ymddengys i'r dymhestl hon gyfodi ar y dysgyblion yn dra sydyn ac annysgwyliadwy. Yr oedd hi wedi bod yn ddiwrnod teg a hyfryd, onide nis gallasai y torfëydd eistedd mor gysurus ar y glaswellt, yn yr anialwch, i gyfranogi o'r arlwy wyrthiol a ddarparodd y Gwaredwr iddynt. Ac yn gyffelyb i hyn, y mae stormydd profedigaethau yn dyfod yn fynych eto pan y byddwn ni yn dysgwyl lleiaf am danynt. Byd y cyfnewidiadau a'r siomedigaethau yw y byd presenol. Gofalwn, gan hyny, am fod "angor yr enaid," sef "gobaith da trwy ras," genym yn wastad yn barod wrth law; canys er iddi fod yn dywydd teg arnom yn awr, ni wyddom yn y byd pa mor fuan y daw hi yn dymhestl flin. Peth arall teilwng iawn o sylw, mewn cysylltiad â'r storm hon ar fôr Galilea yw,—iddi gyfarfod â'r dysgyblion pan oeddynt ar lwybr dyledswydd; canys myned dros y môr mewn ufudd-dod i orchymyn eu Harglwydd yr oeddynt, ac nid ffoi yn groes i air yr Arglwydd fel Jonah. Y mae hyn yn dangos yn amlwg, y gall y dynion goreu gyfarfod ag aflwyddiant a gorthrymderau, pan y byddont yn y man, a chyda'r gwaith, y mynai Duw iddynt fod. Ond er i'r dysgyblion gael "gwynt

gwrthwynebus," ni throisant yn ol, eithr parhausant i ymdrechu rhwyfo yn mlaen, yn erbyn y gwynt a'r tònau, tua'r lle yr oedd eu Hathraw wedi gorchymyn iddynt fyned. Ac yn hyn y maent yn esiampl i ninau; ni ddylem byth droi yn ol, a chilio oddiar lwybr dyledswydd, pa wrthwynebiadau ac anhawsderau bynag a'n cyferfydd.

Yr oedd yr Iesu yn rhagweled y storm cyn i'r dysgyblion gychwyn; ond er hyny, y mae yn eu hanfon i'r môr, wrthynt eu hunain, i'r dyben o brofi eu ffydd, a'u parotoi ar gyfer yr ystormydd o erledigaethau yr oeddynt i'w gwynebu, ar ol iddo ef fyned ymaith oddiwrthynt i'r nef. Yr oeddynt wedi bod mewn storm, ar fôr Tiberias, o'r blaen; ond yr oedd eu Harglwydd gyda hwynt yn y llong y tro hwnw. Gwir ei fod yn *cysgu;* ond yr ydoedd yn y cyrhaedd, fel yr oedd yn hawdd iddynt fyned ato yn eu cyfyngder a'i ddeffro; eithr yn awr yr ydoedd yn absenol oddiwrthynt yn eu trallod. Yr oedd efe trwy hyn, am eu dysgu i rodio wrth ffydd, ac nid wrth olwg; ac i ymddiried ynddo pan y byddai efe yn mhell oddiwrthynt o ran ei bresenoldeb corfforol; yr oedd efe am i'w ffydd fod, nid fel yr eiddew, sydd yn rhy egwan i ymgynal heb gael rhyw wrthddrych i bwyso arno, ond fel y dderwen gadarn sydd yn tyfu arni ei hun, ac yn alluog i wrthsefyll ymosodiadau y tymhestloedd; ac am hyny, y mae yn eu hanfon i'r môr i wynebu y perygl wrthynt eu hunain, yn debyg fel y mae yr eryr, er ei fod yn ddiarhebol am ei dynerwch tuag at ei gywion, yn chwalu ei nyth, ac yn ysgwyd ei rai bychain ymaith oddiar ei adenydd i'r gwagle, er mwyn eu dysgu i ddefnyddio eu hedyn ac ehedeg eu hunain. (Deut. xxxii. 11, 12.)* Y mae yr Arglwydd yn fynych eto yn profi ffydd ei bobl, trwy eu gadael megis iddynt eu hunain am dymhor mewn profedigaethau.

Ond er nad oedd yr Iesu gyda'i ddysgyblion yn eu cyfyngder, eto yr oedd efe yn y mynydd yn meddwl ac yn cofio am danynt, ac yn gweddïo drostynt, na ddiffygiai eu ffydd

* Gwel "*Trench's Notes on the Miracles,*" tudal. 280.

hwynt. Os na chawsant y cysur o fwynhâu ei bresenoldeb a'i gymdeithas yn y llong, cawsant eu cadw mewn atebiad i'w weddi rhag suddo i'r dyfnder, er cymaint eu perygl. "*Ac efe a'u gwelai hwynt yn flin arnynt yn rhwyfo,*" medd Marc. Nis gallai pellder y ffordd, na thywyllwch y nos, eu cuddio o'i olwg; ond yr oedd ei lygad ef yn canfod eu trallod a'u perygl oddiar y mynydd. A'r un modd eto. Yr oedd ei waith yn myned i'r mynydd i weddïo dros ei ddysgyblion, y pryd hwn, yn rhyw ragddangosiad o'i esgyniad i'r nef, i eiriol dros ei bobl, sydd mewn ystormydd ar fôr tymhestlog y byd yma; ac y mae ei lygad ef yn edrych, oddiar fynydd Sion, ar ofidiau ei bobl yma yn myd "y cystudd mawr." "Gan weled y gwelais gystudd fy mhobl sydd yn yr Aifft," meddai wrth Moses yn y berth. (Exod. iii. 7.) "Llygaid yr Arglwydd sydd ar y cyfiawn: a'i glustiau sydd yn agored i'w llefain hwynt." (Salm xxxiv. 15.)

Y mae hanes y wyrth hon yn awgrymu, yn mhellach, fod yr Arglwydd yn sicr o gysuro ei bobl trwy ddatguddio ei hun iddynt, a'u gwaredu o'u gorthrymderau, mewn amser priodol. Y mae yn gwneud hyny yn aml mewn ffordd na ddychymygodd ei bobl erioed am dani, fel yn yr amgylchiad rhyfedd hwn: "*Ac yn y bedwaredd wylfa o'r nos yr aeth yr Iesu atynt, gan rodio ar y môr.*" Y fath allu a gogoniant dwyfol a ymddysgleiriai yn y wyrth fawr hon! Cerddodd amryw filltiroedd, ar warau y tònau brigwyn, a hyny, mor dawel a didrafferth a phe buasai palmant o adamant dan ei draed. Dangosai yn amlwg yn hyn, fod y pethau sydd yn peri trallod a dychryn i'w bobl, yn hollol o dan ei awdurdod ef, a bod ganddo berffaith lywodraeth ar elfenau natur. Y mae y dysgyblion, yn nghanol tywyllwch y nos, yn gweled rhyw wrthddrych. ar lun dyn, yn ymrithio gerllaw iddynt, ac yn rhodio yn dawel tuag atynt, ar wyneb yr eigion cynhyrfus. Mae hon yn olygfa mor gyffrous ac annysgwyliadwy, fel y mae ymddangosiad y gwrthddrych hwn yn peri llawer mwy o ddychryn a braw iddynt na'r dymhestl ei hunan; canys tybiasant yn y fan mai *drychiolaeth*,

neu *ysbryd* ydoedd,—ïe, credent mai ysbryd y dymhestl a ymddangosai iddynt, neu yr ysbryd hwnw oedd wedi cynhyrfu yr elfenau a chodi yr ystorm. "*A hwy a waeddasant rhag ofn.*" Ond pwy oedd y gwrthddrych y darfu i'r olwg arno eu llenwi â'r fath arswyd a dychryn, ond yr hwn yr oedd ynddynt y dymuniadau mwyaf hiraethlawn·am ei bresenoldeb a'i gymdeithas, y noswaith hono. Llawer gwaith y dywedasent wrth eu gilydd, pan oedd y storm yn curo arnynt, nes y teimlent eu hunain mewn dirfawr berygl, "O na buasai efe yma gyda ni!" Ond yn awr, pan y daeth atynt, mewn dull mor annysgwyliadwy, yn lle llawenhâu wrth ei weled yn dynesu, y maent yn gwaeddi rhag ei ofn, oherwydd iddynt fethu ei adnabod. Fel hyn, y mae bendithion goreu y nefoedd yn fynych eto yn cael eu camgymeryd a'u harswydo gan bobl Dduw, am eu bod yn aml yn dyfod yn y ffurf o gystuddiau a phrofedigaethau; ac y mae duwiolion yn peri llawer o drallod iddynt eu hunain, fel y dysgyblion yma, trwy eu camesboniad ar oruchwyliaethau yr Arglwydd tuag atynt. Fel y canodd y bardd Seisnig:—

"Let us be patient! These severe afflictions
Not from the ground arise;
But oftentimes celestial benedictions
Assume this dark disguise.

We see but dimly through the mists and vapours,
Amid these earthly damps,
What seem to us but sad funeral tapers
May be heaven's distant lamps."

Fel hyn y mae y dysgyblion yn camgymeryd eu Harglwydd a'u Gwaredwr, am ryw ddrychiolaeth ddychrynllyd; ond y mae efe yn ddioed yn tawelu eu hofnau trwy hysbysu iddynt pwy ydoedd: "*Ac yn y man y llefarodd yr Iesu wrthynt, gan ddywedyd, Cymerwch gysur: myfi ydyw; nac ofnwch.*" Yr oeddynt eisoes wedi cael cymaint o amlygiadau o'i gariad a'i allu, fel yr oedd gwybod mai efe ydoedd yn ddigon i symud eu hofnau, a'u gwneuthur yn hollol gysurus. Dïau

fod ei lais, yn nghanol rhuadau y dymhestl, y beroriaeth felusaf a swniodd yn eu clustiau erioed. Gallasent ddweyd, gyda'r eglwys yn llyfr y Caniadau, "Dyma lais fy Anwylyd! wele ef yn dyfod, yn rhodio ar y dyfroedd, ac yn llamu ar y tònau!"

Mor fuan ag y datguddiodd yr Iesu ei hun i'r dysgyblion, trwy lefaru wrthynt, y mae Pedr yn ei ateb, gan ddywedyd, "*O Arglwydd, os tydi yw, arch i mi ddyfod atat ar y dyfroedd.*" Mae yr ymadrodd "*arch* i mi ddyfod atat" yn arwyddo, nid *gad* i mi ddyfod, ond *gorchymyn* i mi ddyfod. Y mae y prif linellau yn nghymeriad Pedr—ei gariad gwresog at ei Arglwydd, ei sel, ei fyrbwylldra, ei wroldeb, yn nghyda thipyn o awydd dangos ei hun, yn dyfod i'r golwg yn eglur yn y cais rhyfedd hwn o'i eiddo. Ond tra nas gallwn lai na chanmol ei gariad, ac edmygu ei wroldeb, yr ydym ar yr un pryd, yn rhwym o feio ei fyrbwylldra a'i annoethineb, yn rhuthro i'r fath berygl yn hollol ddiangenrhaid. Yr oedd yr awydd a amlygai am fod gyda'i Arglwydd yn brydferth a chanmoladwy; ond gan fod yr Iesu yn ymyl dyfod atynt i'r llong, pa angen oedd i Pedr ddymuno arno wneud gwyrth i'w alluogi ef i ddyfod ato ar y dyfroedd? Ond un byrbwyll fel hyn oedd Pedr, fel y mae yn hysbys. Sylwch yn awr ar yr atebiad a roddodd yr Iesu i'w gais:—"*Ac efe a ddywedodd, Tyred.*" Caniatâd yn unig, ac nid gorchymyn iddo ddyfod, sydd yma. Yn lle dweyd, "Yr wyf yn archi i ti ddyfod ataf," yr oll y mae ei Arglwydd yn ei ddweyd yw,—"Tyred;" fel pe dywedasai, "Ti a elli ddyfod, os wyt ti yn dewis." Fel hyn, nid yw yn gwahardd, nac yn gorchymyn iddo ddyfod—dim ond yn unig rhoddi caniatâd iddo i wneuthur hyny. Ac y mae yn rhoddi y caniatâd hwn iddo, er mwyn iddo gael cyfleusdra i adnabod ei hun, ac i weled nad oedd ganddo gymaint o ffydd ag oedd efe ei hun yn ei feddwl. Nid cynt y daeth y caniatâd o enau y Gwaredwr, nag y disgynodd Pedr dros ochr y llong, ac "*efe a rodiodd ar y dyfroedd i ddyfod at yr Iesu.*" Tra yr oedd ffydd yr apostol yn gweithredu yn ddiysgog ar Grist, y mae

yn derbyn cymaint o'i gyflawnder ef, nes y mae yn rhinwedd y cymorth hwnw, yn gallu gwneud yr un peth ag a wneid gan y Gwaredwr ei hun. Gwelwn yma y gall yr Arglwydd nerthu y rhai a ymddiriedant ynddo i gyflawni y gweithredoedd mwyaf rhyfedd ac anhawdd. Gall y cyfryw rodio heb suddo ar ddyfroedd profedigaethau y "byd drwg presenol." "Pob peth a all fod i'r neb a gredo." (Marc ix. 23.) Y mae yn debygol i Pedr ddechreu ymchwyddo, a meddwl ei fod ef yn rhagori llawer ar ei frodyr, wrth weled ei hun yn gallu rhodio fel hyn ar y dyfroedd. Siaradai ag ef ei hun, ond odid, gan ddywedyd, "Ni feiddia neb o honynt amheu bellach nad myfi yw y mwyaf yn eu plith. Pwy o honynt hwy fuasai yn mentro cynyg gwneud y fath beth â hyn." Ond ar hyny, wele awel gref o hyrddwynt yn disgyn yn ddisymwth ar y llyn, nes y mae y tònau chwyddedig yn cuddio y Gwaredwr am foment o olwg yr apostol byrbwyll:—"*A phan welodd efe y gwynt yn gryf, efe a ofnodd: a phan ddechreuodd suddo, efe a lefodd, gan ddywedyd, Arglwydd, cadw fi.*" Pe buasai efe yn edrych ar allu yr Iesu i'w gynal, yn lle edrych ar gryfder y gwynt, ni buasai yn suddo. Ond nis gallasai y Gwaredwr ei gynal heb iddo ef weithredu ffydd arno, mwy nag y gallasai y sarff bres gynt iachâu un a fuasai yn gwrthod edrych arni. Y mae o bwys i ninau, wrth rodio ar fôr tymhestlog y byd yma, "edrych ar Iesu" yn barhaus, ac nid edrych ar fawredd yr anhawsderau a'r peryglon a ddichon fod yn ein hamgylchynu. Dywedwn fel y Salmydd, "Y dydd yr ofnwyf, mi a ymddiriedaf ynot ti." (Salm lvi. 3.) Yr oedd Pedr wedi meddwl am wneud arddangosiad o'i ffydd a'i wroldeb, yn ngolwg ei gyd-ddysgyblion; ond yn lle hyny, wele wendid ei ffydd yn dyfod i'r golwg yn eu gwydd hwynt oll; a bu hyn yn ddiau yn foddion i roddi clwyf trwm i'w falchder, a'i wneuthur yn llawer mwy gostyngedig. Ond y mae ymddygiad Pedr, yn ei ddychryn a'i gyfyngder, pan y teimlodd ei hun yn dechreu suddo, yn dangos yn amlwg nad ydoedd ei ffydd wedi llwyr ddiffygio; canys yn

lle gweiddi ar ei frodyr, a dymuno arnynt daflu rhaff iddo, allan o'r llong, y mae yn troi at y Gwaredwr am gymhorth: "*efe a lefodd, gan ddywedyd, Arglwydd, cadw fi.*" A pha fodd yr ymddygodd yr Iesu tuag ato? a'i gadael iddo gymeryd ei siawns, am ei fod trwy ei ofnau a'i amheuon wedi taflu y fath ddianrhydedd ar ei allu a'i ofal ef? O! nage. Pwy erioed a glywodd son am dano yn gwrthod tosturio wrth bechadur fyddai yn llefain arno mewn cyfyngder? Yn lle troi clust fyddar at weddi Pedr druan, "YN Y MAN *yr estynodd yr Iesu ei law, ac a ymaflodd ynddo ef, ac a ddywedodd wrtho, Tydi o ychydig ffydd, paham y petrusaist?*" Yn lle dechreu ei geryddu cyn ei gipio o'r perygl, y mae yr Iesu yn ymaflyd yn dirion ynddo i ddechreu, ac yna y mae yn rhoddi cerydd tyner iddo, oherwydd gwendid ei ffydd. Er y gallasem ni dybied nad "*ychydig* ffydd" oedd gan Pedr, yn yr amgylchiad rhyfedd hwn, eto y mae geiriau yr Arglwydd Iesu yn rhoddi ar ddeall i ni mai "*ychydig* ffydd" sydd genym, pa bryd bynag y byddo arswyd unrhyw greaduriaid, yn deimlad cryfach yn ein mynwesau, na'n hymddiried yn yr hwn y mae pob creadur o dan ei reolaeth. Nid am adael y llong, a mentro gormod, y mae ei Arglwydd yn ei geryddu; ond am nad oedd ganddo ddigon o ymddiried yn ei allu ef i'w gynal a'i ddyogelu. Os dygwydd i ninau deimlo ein hunain yn suddo, oherwydd gwendid ein ffydd, llefwn yn ddioed ar y Gwaredwr fel Pedr, a dywedwn gyda'r Salmydd, "Anfon dy law oddi uchod; achub a gwared fi o ddyfroedd mawrion." (Salm. cxliv. 7.) Ac yna ni a gawn achos i ddweyd drachefn yn ngeiriau y Salmydd, "Pan ddywedais, Llithrodd fy nhroed: dy drugaredd di, O Arglwydd a'm cynhaliodd." (Salm. xciv. 18.)

"*A phan ddaethant hwy i mewn i'r llong, peidiodd y gwynt.*" Mae presenoldeb Crist yn dwyn tawelwch a thangnefedd, ac y mae efe yn alluog i ostegu yr holl ystormydd sydd yn ymosod ar ei bobl. "*Ac yn ebrwydd yr oedd y llong wrth y tir yr oeddynt yn myned iddo.*" Yr oedd y dysgyblion yn methu myned yn mlaen heb yr Iesu, er rhwyfo yn galed;

ond wedi ei gael ef atynt, y mae yn ymddangos iddynt orphen y fordaith, a chyrhaedd y porthladd, gyda chyflymdra gwyrthiol. Gwelwn yma gyflawniad tarawiadol o eiriau y Salmydd:—"Efe a wna yr ystorm yn dawel; a'i thònau a ostegant. Yna y llawenhânt am eu gostegu; ac efe a'u dwg i'r porthladd a ddymunent." (Salm. cvii. 29, 30.)

Ymddengys i'r wyrth ryfedd hon wneud argraff ddyfnach o fawredd y Gwaredwr, ar feddyliau y dysgyblion, nag un wyrth a welsent o'r blaen:—"*A daeth y rhai oeddyn y llong, ac a'i haddo'asant ef, gan ddywedyd, Yn wir Mab Duw ydwyt ti.*" Yr oeddynt yn awr yn gweled y gweithredoedd gogoneddus a briodolir yn yr hen Destament i Jehofa yn unig, yn cael eu cyflawni gan yr Arglwydd Iesu; canys fel hyn y dywedir am Dduw yn llyfr Job:—"*Yr hwn yn unig sydd yn taenu y nefoedd, ac yn sathru ar dònau y môr.*" (Job ix. 8.) A chan fod Crist yn gwneud y gweithredoedd dwyfol hyn, priodol oedd i'r dysgyblion y pryd hwn, ac ydyw i ninau eto, syrthio ger ei fron a'i addoli, gan ddywedyd wrtho, "YN WIR MAB DUW YDWYT TI."

# XIX.

## IACHAU MERCH Y WRAIG O GANAAN.

"*Yna yr atebodd yr Iesu, ac a ddywedodd wrthi, Ha wraig, mawr yw dy ffydd: bydded i ti fel yr wyt yn ewyllysio. A'i merch a iachawyd o'r awr hono allan.*" MATH. xv. 28.

[Gwel hefyd, MARC vii. 24—30.]

UN peth sydd yn gosod hynodrwydd arbenig ar y wyrth hon ydyw, y ffaith fod y Gwaredwr yn ymddangos yma mor annhebyg iddo ei hun. Y mae yr hwn oedd mor barod ar bob achlysur i dosturio, wrth bob truan a ddeuai ato mewn cyfyngder, yn ymddangos yma, am unwaith, fel pe buasai yn anmharod i drugarhâu wrth y fam drallodus hon, trwy iachâu ei merch. Y mae genym, yn yr Efengylau, dair engraifft neillduol o ffydd yn gorchfygu anhawsderau a digalondid, wrth ddyfod at yr Iesu, sef hanes y claf o'r parlys yn Capernaum (Marc ii. 4.); hanes Bartimeus ddall yn ymyl Jericho (Marc x. 48.); a hanes y wraig yma o Ganaan.* Llïosowgrwydd y dyrfa, a muriau a thô y tŷ, oedd yn rhwystro y claf o'r parlys ato; ei gyd-ddynion oedd yn ceryddu Bartimeus, ac yn ceisio ganddo dewi; ond y wraig hon sydd yn cael y digalondid mwyaf o bawb a ddaethant ato; canys y mae yr Iesu ei hunan yn ymddangos fel pe byddai am wrthod hon, a'i chadw draw oddiwrtho. Ac eto, nid oes yr un gyfran o'r ysgrythyrau sanctaidd yn fwy llawn o galondid a chysur i'r enaid sydd yn barod i wangaloni ac anobeithio na hanes y wyrth hon. Nid unrhyw anmharodrwydd i drugarhâu wrth y druanes hon oedd yr achos i'r Iesu ymddwyn tuag ati fel y gwnaeth. Ond yr oedd efe yn berffaith hysbys o fawredd ffydd y wraig; oherwydd y mae efe yn gwybod beth sydd mewn dyn. (Ioan ii. 25.) Gwyddai

* Gwel Trench ar y Wyrth hon.

yn dda, gan hyny, faint a allai hi ddal; a'i adnabyddiaeth ef o'i ffydd hi yw yr allwedd i fyned i mewn i ddirgelion yr hanes. Pe buasai ei ffydd hi yn wan, y mae yn hollol sicr y buasai efe yn ymddwyn tuag ati yn wahanol iawn i'r modd y gwnaeth; oblegid "corsen ysig nis tŷr, a llin yn mygu nis diffydd, hyd oni ddygo efe allan farn i fuddugoliaeth." (Math. xii. 20.) Ond gan y gwyddai efe "fod ei ffydd yn debyg i afon, yr hon sydd yn croni trwy y gwrth-gloddiau a osodir yn ei herbyn, nes o'r diwedd y mae yn eu llwyr ysgubo ymaith gyda hi," y mae efe yn ei phrofi yn llym, ac yn gosod anhawsderau mawrion ar ei ffordd, i'r dyben o amlygu ei ffydd, fel y ceid yma engraifft i ddangos i holl oesau dyfodol y byd beth yw ffydd gref mewn gweddi. Os bydd ar rywun eisieu esboniad ar y geiriau lle y sonia Crist am ffydd yn symud mynyddoedd (Math. xvii. 20.), darllened hanes y wraig hon, a chaiff weled y ffydd hono yma yn ei gwaith.

Yr oedd y Gwaredwr yn awr ar derfynau pellaf tir Israel, os nad ydoedd wedi myned drosodd i blith y Cenedloedd: "*Ac efe a gyfododd oddi yno,*" sef o Galilea, "*ac a aeth i gyffiniau Tyrus a Sidon; ac a aeth i mewn i dŷ, ac ni fynasai i neb wybod: eithr ni allai efe fod yn guddiedig.*" Yr oedd newydd dramgwyddo cymaint ar y Phariseaid, trwy gondemnio eu ffurfioldeb a'u rhagrith mor ddiarbed, fel y mae yn debygol fod ei fywyd mewn perygl, a thybia rhai iddo fyned i'r parthau hyn yn bresenol er mwyn cilio oddiar ffordd ei elynion, "am na ddaethai ei awr ef eto." Ond barna eraill, mai ei brif ddyben wrth fyned i dueddau Tyrus a Sidon oedd rhoddi cyfleusdra i'r wraig yma i ddyfod ato. Y mae yn wir y dywed yr Efengylwr, na fynasai efe i neb wybod am ei ddyfodiad, yr hyn a ddengys yn eglur nad oedd efe wedi myned yno i addysgu yn gyhoeddus, ac i wneud gwyrthiau, yn mhlith y Cenedloedd eulun-addolgar a breswylient yn y parthau hyny, am fod ei weinidogaeth bersonol ef i gael ei chyfyngu i'r Iuddewon, ac am fod chanolfur y gwahaniaeth eto heb ei ddileu. Ond nid ydym i

feddwl fod ynddo y graddau lleiaf o anewyllysgarwch, y pryd hwn, mwy nag un amser arall, i dderbyn unrhyw bechadur a chwenychai ddyfod ato, pa un bynag ai Iuddew ai Cenedl-ddyn a fyddai. Ond ni fynai i'w ddyfodiad gael ei wneud yn gyhoeddus. Fel pe dywedasai, "Peidiwch a dweyd dim wrth neb am fy nyfodiad i'r ardal hon. Os oes yma rywrai yn teimlo eu hangen am danaf fi, ac yn meddu ffydd ynof fi, bydd y rhai hyny yn sicr o ddyfod o hyd i mi yn fuan." "*Eithr ni allai efe fod yn guddiedig.*" Fel y mae yr enaint yn hysbysu ei hun, trwy ei berarogl, felly am yr hwn y mae ei enw fel enaint tywalltedig (Can. i. 3), nis gallai yntau guddio ei hun oddiwrth ffydd: "*Canys pan glybu gwraig, yr hon yr oedd ei merch fechan ag ysbryd aflan ynddi, son am dano, hi a ddaeth ac a syrthiodd wrth ei draed ef.*" Nid anhwyldeb personol, ond cystudd teuluaidd, a barodd i'r wraig hon ddyfod ato. Yr oedd y rhywogaeth waethaf o gythreuliaid yn cartrefu er's amser yn ei merch fechan.* Diau fod y ferch fach hon, ar brydiau o leiaf, yn edrych yn wyllt ac yn ffrynig—yn blino ac yn baeddu pawb o'i hamgylch—yn malu ewyn—yn cael ei dirdynu yn y modd mwyaf arswydus gan yr ysbryd aflan—ac yn gwneud yr oer-leisiau mwyaf torcalonus. Felly y mae yn amlwg, fod profedigaeth y wraig hon druan yn un o'r rhai chwerwaf y dichon i fam byth ei chyfarfod. Ond y brofedigaeth chwerw hon a fu yn foddion i'w dwyn hi at draed y Gwaredwr. Gwyn fyd y rhai y mae eu gofidiau yn eu gyru at orseddfainc y gras.

Y mae yn eglur fod y wraig hon, er mai un o'r Cenedloedd paganaidd a breswylient tu allan i gyffiniau tir Israel

* Mae yn amlwg nad ydym i dybied fod pawb a feddianid gan gythreuliaid yn bechaduriaid mwy na'r cyffredin, gan fod *plant* yn cael eu meddianu ganddynt weithiau, fel y dangosir yma, yn gystal ag mewn rhanau eraill o'r Efengylau. (Marc ix. 21.) Byddai yn dda i esbonwyr a pregethwyr gofio, nad yw y ffaith fod saith o gythreuliaid wedi bod yn Mair Magdalen, yn un rhith o brawf, iddi erioed fod yn ddynes o'r fath gymeriad isel a gwaradwyddus ag a briodolir iddi mor gyffredin a dibetrus. Fel y dywed un, ei CHYSTUDD, ac nid ei PHECHOD, oedd fod saith o gythreuliaid yn ei meddianu. Mae yn syndod mor dueddol ydym i ddweyd pethau ar ol ein gilydd, heb gymeryd trafferth i'w chwilio drosom ein hunain, ac i edrych fel y Bereaid, "a yw y pethau hyn felly."

ydoedd, wedi clywed son am yr Iesu a'i wyrthiau; "canys ffydd sydd trwy glywed." Clywsai ei fod wedi bwrw allan gythreuliaid o lawer o rai cyffelyb i'w merch; ac yr oedd ganddi bob hyder, oddiwrth yr hyn a glywsai am dano, y buasai yn iachâu ei merch hithau hefyd pe gallasai hi ond myned ato rywfodd. Ond yr oedd efe yn mhell o'r cyrhaedd o hyd, a hithau, mae yn debygol, yn wraig weddw dlawd, ac felly yr oedd yn anhawdd iawn iddi adael ei merch fechan, oedd yn y fath gyflwr, a myned oddicartref am hir amser i chwilio am dano. Yr oedd yr Iesu yn gwybod yn dda am ei hamgylchiadau—am ei hawydd i ddyfod ato, a'r rhwystrau oedd ar ei ffordd i ddyfod, ac am hyny, y mae efe, yn ei anfeidrol dosturi a'i gydymdeimlad, yn myned i'w chyfarfod i gyffiniau Tyrus a Sidon Ac y mae y wraig ryw ddiwrnod yn clywed, er ei dirfawr lawenydd, fod y Proffwyd mawr o Nazareth wedi dyfod i'r gymydogaeth. Dyma iddi o'r diwedd gyfleusdra manteisiol i fyned ato. Y mae genym ninau gyfleusdra cyffelyb; canys y mae efe wedi dyfod i'n hymyl yn ei efengyl, ei ordinhadau, ac ymrysoniadau ei Ysbryd: "Ceisiwch yr Arglwydd, tra y galler ei gael ef; gelwch arno tra fyddo yn *agos*." (Esaiah lv. 6.)

Daliodd y wraig yma ar yr adeg yn ddioed i fyned ato. Y mae yn dynesu yn mlaen gan syrthio yn hyderus wrth ei draed, ac yn llefain mewn teimlad dwys, gan ddywedyd wrtho, "*Trugarha wrthyf, O Arglwydd, Fab Dafydd: y mae fy merch yn ddrwg ei hwyl gan gythraul.*" Ond er dirfawr ddigalondid a syndod i'r wraig druan, "*nid atebodd efe iddi un gair.*" Mor wahanol y mae yn ymddangos i'r hyn y dysgwyliai hi ei gael, oddiwrth bobpeth a glywsai am dano! Ai dyma yr un y clywsai hi gymaint am ei barodrwydd i dosturio a thrugarhâu? Gallesid dysgwyl iddo, o leiaf ddweyd rhyw air tirion a charedig wrth fam dyner ei chalon, yn y fath ing a chyfyngder; a buasai rhyw arwydd felly o'i gydymdeimlad yn rhywfaint o gysur i'r druanes. Ond yn lle hyny, nid yw yn ymddangos fel pe byddai yn cymeryd un sylw o'i chais. Onid ydyw yn ymddwyn yn

gyffelyb yn aml tuag atom ninau? Onid ydym yn fynych yn teimlo y nefoedd fel pres uwch ein penau pan y byddom yn ceisio gweddio, ac yn codi oddiar ein gliniau â'n calonau mor galed, ein meddwl mor ddigysur, a'n llygredd mor gryf, â phan oeddym yn plygu ar ein gliniau, i ddechreu gweddio? Y mae yr Arglwydd yn aml yn peidio ateb, ar y dechreu, er mwyn gwneud ei bobl yn daerach mewn gweddi, ac am ei fod yn hoffi clywed eu llais yn gofyn iddo. Y mae llawer gweddi yn cael ei *gwrandaw*, gyda chymeradwyaeth a hyfrydwch yn y nefoedd, yn hir cyn iddi gael ei *hateb*, fel y gwelir yn hanes y wraig hon. Yr oedd ei llais yn swnio yn fwy peraidd yn nghlustiau y Gwaredwr na sain telynau angelion, pan nad oedd efe yn cymeryd arno ei fod yn ei chlywed. Y mae yn codi, ac yn myned allan o'r tŷ, lle yr ydoedd; ac yn lle digaloni ac anobeithio, yn ngwyneb ei ddistawrwydd, a chychwyn tuag adref yn brudd a siomedig, heb y fendith, y mae y wraig yn cerdded trwy yr heol ar ei ol, ac yn parhâu i lefain am drugaredd. Y mae ei llais, naill ai yn toddi calonau, neu yn hytrach yn blino y dysgyblion, nes y maent yn deisyf ar yr Iesu ganiatâu ei dymuniad iddi: "*A daeth ei ddysgyblion ato, ac a atolygasant iddo, gan ddywedyd, Gollwng hi ymaith,*" trwy roddi ei neges iddi, "*canys y mae hi yn llefain ar ein hol.*" Yr ydym yn cael i'r Iesu iachâu gwas y canwriad, er ei fod yn Genedl-ddyn, ar gais henuriaid yr Iuddewon (Luc vii. 2—6.); ac nid oes bosibl, gan hyny, na iachâ efe ferch y baganes dlawd yma ar gais ei ddysgyblion ei hun. Na, y mae eu heiriolaeth hwythau yn aflwyddianus! Clywch ei atebiad:—"*Ac efe a atebodd ac a ddywedodd, Ni'm danfonwyd i ond at ddefaid colledig tŷ Israel.*" Y mae yn dweyd hyn, wrth ei ddysgyblion, ond yn nghlywedigaeth y wraig. Wel, druan o honi! Y mae yn myned dywyllach, dywyllach, arni o hyd. Yr oedd distawrwydd yr Iesu yn ddigalondid mawr iddi; ond y mae y gair cyntaf a ddywedwyd ganddo yn llawer mwy o ddigalondid drachefn iddi. Tra yr oedd efe yn fud, gallasai y wraig druan gysuro ei hun, trwy

obeithio ei fod yn ystyried ei hachos, ac y byddai iddo yn y man drugarhâu wrthi. Ond os oedd drws gobaith, hyd yma, yn ymddangos yn gil-agored o'i blaen, dyna fe yn awr megys yn cael ei gau, a'i gloi, yn ei gwyneb. Un o'r Cenedloedd yw hi, a dyna yr Iesu yn dweyd wrth ei ddysgyblion, yn ei chlywedigaeth, pan y ceisient ganddo drugarhâu wrthi, na ddanfonwyd mo hono ef, i gyfranu bendithion ei weinidogaeth, ond i hâd Abraham. Eithr yn lle digaloni a rhoddi i fynu, yn ngwyneb hyn, fel y gallesid dysgwyl, y mae hi "*yn erbyn* gobaith, yn credu dan obaith." Y mae hi yn awr, yn lle dilyn yr Iesu o'r tu ol, yn dyfod o'r tu blaen iddo, ac yn syrthio ar ei gliniau, ger ei fron:—"*Hi a ddaeth ac a'i haddolodd ef, gan ddywedyd, Arglwydd, cymorth fi.*" Edrychai yn ei wyneb, â'i dagrau yn treiglo i lawr ei gruddiau, tra yr ymbiliai fel hyn arno, o eigion ei chalon. Credai fod yno gyflawnder o dosturi yn ei galon ef, pan nad oedd dim o hono yn ymddangos yn ei eiriau, a'i ymddygiadau tuag ati, a dyma un o orchestion ffydd. Y mae y rhai sydd yn esgyn i benau mynyddoedd uchel y byd yma, weithiau yn gweled y niwl tew yn gorwedd yn ddyblygion ar y dyffrynoedd, wrth odre y mynyddoedd, a'r cymylau duon yn nofio, nid uwch eu penau, ond dan eu traed; ac y maent yn clywed y taranau croch yn rhuo yn frawychus rhwng y creigiau a'r clogwyni yn y dyfnder obry, tra y mae yr haul yn pelydru yn siriol yn y ffurfafen uwch eu penau; a byddant ar brydiau yn gweled yr ehedydd yn ymsaethu i fynu o ganol y cymylau, uwchlaw y dymhestl, i belydrau digwmwl yr haul, ac yno yn canu mor beraidd nes y gellid meddwl bron ei fod wedi dysgu rhai o dônau angelion, wrth eu clywed yn canu ar eu teithiau trwy yr wybrenau. Rhywbeth tebyg i'r ehedydd yn yr amgylchiadau hyn yw ffydd. Y mae hi yn ymddyrchafu goruwch cymylau tywyll a thymhestlog goruchwyliaethau yr Arglwydd, i'r tawelwch sanctaidd sydd tu hwnt iddynt, lle mae haul mawr y cariad tragywyddol yn llewyrchu yn ddysglaer a digwmwl. Mewn geiriau eraill,

y mae yn credu yn ddïysgog mai cariad yw Duw, ac yn ymddiried yn ei drugaredd, yn nghanol y goruchwyliaethau mwyaf tywyll a chwerw. Felly y gwnelai ffydd y wraig hon. Nid yw ymddygiadau yr Iesu tuag ati, yn peri iddi feddwl mai un calon-galed a didosturi ydoedd; onide buasai yn digaloni, ac yn rhoddi i fynu; eithr yn lle hyny, y mae yn parhâu i obeithio yn ei drugaredd, ac i ddeisyf ei gymorth.

Wel, yn sicr, dyna ddigon o brofi wedi bod ar ei ffydd hi bellach. Hi a gaiff ei neges yn awr. Na, y mae un prawf eto yn ol, a hwnw y mwyaf tanllyd o'r cwbl. Y mae yr Iesu yn ymddangos fel pe byddai yn dirmygu y druanes trwy wneud gystal â'i galw yn gi:—"*Ac efe a atebodd ac a ddywedodd, Nid da* (nid gweddus) *cymeryd bara y plant, a'i fwrw i'r cŵn.*" Yr Iuddewon oedd plant y deyrnas; a bara y plant oedd gweinidogaeth, a gwyrthiau yr Arglwydd Iesu; ac ni byddai rhoddi y pethau hyn i'r Cenedloedd yn ddim amgen na bwrw bara y plant, i'r cŵn. Gallesid dysgwyl i'r wraig ffromi a thramgwyddo, am i'r Iesu roddi enw mor waradwyddus arni; eithr yn lle hyny, hi a ddywedodd, "*Gwir yw Arglwydd: ac eto y mae y cŵn* (bychain) *dan y bwrdd yn bwyta o'r briwsion sydd yn syrthio oddiar fwrdd eu harglwyddi.*" Fel pe dywedasai, "Nid wyf yn gofyn am gael eistedd yn mhlith y plant wrth y bwrdd i wledda ar dy arlwyadau; ond diolch i ti am fy arddel i fel un o'th gŵn; y mae y cŵn yn perthyn i'r tŷ, ac yn cael bwyta o friwsion y plant, ac os goddefi i minau gael bod fel dy gi o dan dy fwrdd, i gasglu y briwsion, byddaf yn hollol foddlawn ar hyny, ac yn hynod o ddiolchgar." Fel hyn y mae hi yn rhwydo yr Iesu yn ei ymadrodd, fel y dywed Luther —yn ei ddal ar ei air—yn cipio yr arf o'i law, ac yn ei orchfygu â'i arf ei hun. "Y mae pobpeth yma," medd Archer Butler. "Y mae yr oll o Gristionogaeth wedi ei chydgrynhoi mewn un frawddeg hapus. Y mae hi yn credu yn ei hiselder ei hun; y mae yn credu yn mhenarglwyddiaeth hollol Duw; y mae yn credu yn nirgel briodoldeb

anwastadrwydd ymddangosiadol ei ragluniaeth; y mae yn credu nas gall yr anwastadrwydd hwnw byth newid gwir gyffredinolrwydd ei gariad ef. Duw sydd yn bob peth; ond y mae hithau yn rhywbeth hefyd, oblegid y mae hi yn greadur Duw. Y mae dynion o leoedd dwfn yn gweled y ser ganol dydd; ac o ddyfnderoedd eithaf ei hunanymostyngiad, y mae hithau yn cipio gafael yn holl ddirgelwch bendigedig y nefoedd: fel y Cristion yn narluniad Paul, tra 'heb ddim ganddi, y mae yn meddianu pob peth.' Nid oes yr un gostyngeiddrwydd yn berffaith a chymesur ond yr un sydd yn gwneud i ni gasâu ein hunain fel rhai llygredig, eto parchu ein hunain fel rhai anfarwol; y gostyngeiddrwydd sydd yn ymgrymu yn y llwch, ond yn syllu ar yr wybrenau!"

Y mae y wraig o'r diwedd yn llwyddo. Y mae yr Iesu yn cael ei orchfygu gan ei deimladau, nes y mae fel Joseph gyda'i frodyr, yn methu ymatal. Y mae yn edrych arni gyda gwên o gymeradwyaeth, ac yn dweyd wrthi yn y modd mwyaf serchus. "*Ha wraig, mawr yw dy ffydd: bydded i ti fel yr wyt yn ewyllysio. A'i merch a iachâwyd o'r awr hono allan.*" Dyma ffydd y wraig yn cael gwobr ddeublyg:—1. *Enillodd ganmoliaeth yr Iesu:*—"Ha wraig, mawr yw dy ffydd." Gwyddai efe ei bod hi mor ostyngedig fel nad oedd dim perygl i'w ganmoliaeth beri iddi ymfalchio. Buasem ni yn debyg o ganmol ei gostyngeiddrwydd, ei thaerineb, a'i dyfalbarhâd, ond ei *ffydd* a ganmolwyd gan Grist, am mai ei ffydd oedd y gwreiddyn oddiar ba un yr oedd y pethau hyn yn tarddu ac yn tyfu. Mae yn syndod fod ganddi gymaint o ffydd, pan ystyriom leied o fanteision oedd hi wedi gael: nid ydoedd erioed wedi gweled gwyrth, na mwynhâu gweinidogaeth proffwyd, nac apostol, chwaithach gweinidogaeth yr Arglwydd Iesu Grist ei hun. Ond fel y mae ychydig o hâd yn dwyn cnwd toreithiog mewn tir da, felly hefyd am y wraig yma, er mai ychydig o fanteision a gawsai, eto gan fod ganddi "galon hawddgar a da," yr oedd hi yn meddu llawer o ffydd. Y

mae hyn yn dangos yn eglur mai nid unrhyw wendid yn y dystiolaeth, na diffyg yn y moddion, ond y drwg sydd yn y galon, yw yr achos na ba'i gan wrandawyr efengyl ffydd. Pa fodd y saif gwrandawyr anghrediniol Cymru, yn ngwyneb y wraig yma o Ganaan yn y farn? 2. *Y mae hi yn llwyddo i gael y fendith a geisiai*:—"Am y gair hwnw dos ymaith; aeth y cythraul allan o'th ferch." Am y briwsion yr oedd hi yn gofyn; ond y mae yr Iesu megys yn estyn y dorth iddi i gymeryd faint a fynai: "Bydded i ti fel yr wyt yn ewyllysio. A'i merch a iachâwyd o'r awr hono allan." Y pethau hynotaf yn y wyrth yma oedd,—iddi gael ei chyflawni ar un o'r Cenedloedd—a hyny pan oedd yr Iesu yn mhell oddiwrth y dyoddefydd—ac nid ar gais y dyoddefydd ei hunan, ond mewn atebiad i weddi daer a ffyddiog ei mam. Ffydd y fam oedd y gwefr-gludydd *(electric-conductor)* a ffurfiai undeb rhwng y Gweredwr â'r ferch fechan; ac a gariai y rhinwedd iachâol, o'i berson ef, i'w mynwes hithau. Yr ydym yn y wyrth yma yn gweled Hollalluowgrwydd a Hollwybodaeth yr Arglwydd Iesu—ei allu dwyfol yn ei waith yn bwrw "y cryf arfog" allan o'r ferch, a'i wybodaeth oruwchnaturiol yn ei waith yn hysbysu y fam fod y cythraul wedi myned allan o'i merch, heb i neb ddyfod â'r newydd iddo. Cyfododd y wraig oddiar y ddaear, sychodd ei dagrau, diolchodd yn wresog i'w chymwynaswr, ac aeth tuag adref yn llawen. "*Ac wedi iddi fyned i'w thŷ, hi a gafodd fyned o'r cythraul allan, a'i merch wedi ei bwrw ar y gwely.*" Gorweddai yn esmwyth a llonydd, yn lle bod yn wyllt ac aflywodraethus, fel arferol; ac y mae yn debyg ei bod hi yn teimlo dipyn yn lluddedig, ar ol cael ei ddirdynu yn arswydus gan yr ysbryd aflan, ar ei fynediad allan o honi." (Marc ix. 26.)

Y mae gweddi y ffydd yn wastad yn llwyddo, er mai nid bob amser y mae yr Arglwydd yn rhoddi y fendith neillduol a geisir. Gweddiodd Paul deirgwaith am gael symud y swmbwl o'i gnawd; ond yr atebiad oedd, "Digon i ti fy ngras i: canys fy nerth i a berffeithir mewn gwendid."

(2 Cor. xii. 9.) Dywed un fod gweddi yn debyg i ffon yn cael ei thaflu i ganghenau pren afalau. Fe allai na ddaw hono â'r afal neillduol y byddis yn anelu ato i lawr; ond y daw ag un arall mwy, ac aeddfetach, yn ei le. Y mae yr hanes yma wedi ei fwriadu i ddysgu i ni y pwys o "weddio yn wastad ac heb ddiffygio," ac i fod yn galondid i ni i ymddiried yn yr Arglwydd pan fyddo ei oruchwyliaethau tuag atom yn dywyll a chwerw.

"Behind a frowning providence
He hides a smiling face."

"Mae yn cuddio gwên garedig iawn
Tu hwnt i gyfiawn gerydd."

# XX.

## IACHAU UN MUD A BYDDAR.

"*A hwy a ddygasant ato un byddar, ag atal dywedyd arno; ac a atolygasant iddo ddodi ei law arno ef. Ac wedi iddo ei gymeryd ef o'r neilldu allan o'r dyrfa, efe a estynodd ei fysedd yn ei glustiau ef, ac wedi iddo boeri, efe a gyffryddodd â'i dafod ef; a chan edrych tua'r nef, efe a ocheneidiodd, ac a ddywedodd wrtho, Ephphatha, hyny yw, Ymagor. Ac yn ebrwydd ei glustiau ef a agorwyd, a rhwym ei dafod a ddatodwyd; ac efe a lefarodd yn eglur,*" &c. MARC vii. 32—37.

MARC ydyw yr unig un o'r Efengylwyr sydd yn adrodd hanes y wyrth hon. Y mae Mathew yn crynhoi hanes amryw wyrthiau, a wnaed gan yr Iesu y pryd hwn, mewn ychydig eiriau fel hyn:—" A'r Iesu a aeth oddi yno," sef o dueddau Tyrus a Sidon, " ac a ddaeth gerllaw môr Galilea; ac a esgynodd i'r mynydd, ac a eisteddodd yno. A daeth ato dorfeydd lawer, a chanddynt gyda hwynt gloffion, deillion, mudion, anafusion, ac eraill lawer: a hwy a'u bwriasant i lawr wrth draed yr Iesu, ac efe a'u hiachâodd hwynt:" &c. (Math. xv. 29—31.) O'r amrywiol wyrthiau hyn o iachâd y mae Marc yn dethol un, ac yn rhoddi hanes manwl am dani, oherwydd fod amryw bethau mwy hynod yn perthyn i hon nag i un o'r lleill. Yr oedd y dyn truenus yma a ddygwyd at yr Iesu yn dyoddef, fel y gwelir, o dan anhwyldeb deublyg—yr ydoedd yn fyddar ac yn fud, ac y mae y ddau ddiffyg yma yn fynych yn dilyn eu gilydd.

1. *Yr ydoedd yn fyddar.* Meddyliwch am sefyllfa brudd-aidd y byddar druan. Ni chlywodd erioed lais tyner ei fam dirion yn ei sïo pan yn faban; mae yn hollol ddieithr i ruadau y daran, a pheroriaeth swynol yr adar; ni wŷr ddim am seiniau dymunol y delyn a'r organ, na lleisiau peraidd y gynulleidfa yn canu ac yn pyncio trwy ras yn eu calonau

i'r Arglwydd; nis gall hyawdledd prif areithwyr y byd effeithio dim ar ei deimlad, na geiriau y bywyd tragywyddol, o enau gweision y Duw goruchaf, gyrhaedd ei galon. Eistedda yn nghanol ei gyfeillion fel delw heb glywed gair o'u hymddyddanion. Er fod "mil o leisiau melusion" o'i amgylch, eto y mae y cwbl mor ddistaw â'r bedd iddo ef. Mor ddiolchgar a ddylem ni fod nad ydym yn fyddariaid mewn ystyr naturiol; ond y mae pechaduriaid annychweledig felly mewn ystyr ysbrydol; "canys brasawyd calon y bobl hyn, a hwy a glywsant a'u clustiau yn drwm." (Math. xiii. 15.) Nid ydynt yn clywed llais Duw yn ei air yn llefaru wrthynt,—nid yw gwirioneddau pwysig y Beibl yn effeithio dim arnynt. Mae yr annuwiol yn gyffelyb i ddyn byddar yn cerdded ar y ffordd haiarn, a'r gerbydres yn dyfod yn ei llawn nerth a'i chyflymdra o'i ol, ond er rhoddi y chwibanogl *(whistle)* ar waith i'w rybuddio, yn y modd mwyaf cyffrous, nid yw yn cilio o'r perygl, am nad yw yn clywed. Felly am y pechadur, er ei rybuddio "i ffoi rhag y llid a fydd," nid yw yn cymeryd un sylw o'r rhybuddion, ond y mae yn myned yn mlaen yn dawel, ar hyd y ffordd lydan, gan ddweyd wrtho ei hun, "Tangnefedd a dyogelwch," er fod dinystr disymwth yn dyfod ar ei warthaf.

2. *Yr oedd y dyn yma hefyd ag atal dywedyd arno.* Dichon nad ydoedd yn fudan hollol, ond prin y gallasai neb ei ddeall yn dweyd yr un gair. Mor rhyfedd a gwerthfawr yw y gallu i lefaru! Mae y Salmydd yn dra phriodol yn son am y gallu hwn fel "ei ogoniant:" "Fel y cano fy ngogoniant (h. y. fy nhafod) i ti, ac na thawo." (Salm xxx. 12.) Ond y mae pechadur wrth naturiaeth, yn debyg i'r dyn yma a ddygwyd at Grist, a rhyw atal dywedyd arno am bethau ysbrydol. Y mae yn ddyledswydd arnom lefaru *wrth* Dduw mewn gweddi, a llefaru *am* Dduw, a *thros* Dduw, wrth ddynion; ond y mae rhyw atal dweyd rhyfedd ar lawer yn yr ystyriaethau hyn. Siaradant yn rhwydd am bethau y byd yma, ac am byneiciau dadleuol crefydd, fe allai; ond nid ydynt byth yn ymbleseru mewn son am

sancteiddrwydd a daioni yr Arglwydd, nac yn rhybuddio, na chynghori eu cyd-ddynion. Mae yn gweddu i lawer o honom fyned at yr Arglwydd i ymbil arno yru yr ysbryd mud sydd ynom allan o honom, a gweddio fel y Salmydd, "Arglwydd, agor fy ngwefusau, a'm genau a fynega dy foliant." (Salm. li. 15.)

Yr oedd y dyn yma yn analluog i ofyn ei hunan i Grist ei iachâu, ac am hyny, y mae rhai o'i gyfeillion yn erfyn drosto. Nis medrai y rhai hyn ei iachâu eu hunain, ond y maent yn gwneud yr hyn a allent tuag at gael iachâd iddo, sef ei ddwyn at yr Iachawdwr, a gweddio drosto. A'r un modd yr ydym ninau yn analluog i iachâu eneidiau, a chyfnewid calonau ein ceraint a'n cyfeillion; ond gallwn, a dylem ddilyn esiampl y bobl hyn, trwy ddeisyf ar Grist gymeryd trugaredd arnynt: "Agor dy enau dros y mud," &c. (Diar. xxxi. 8.) Dywedir i gyfeillion y dyn yma atolygu i'r Iesu ddodi ei law arno ef. Yr oeddynt naill ai wedi ei weled, neu ynte wedi clywed y byddai efe yn dodi ei ddwylaw ar y cleifion, wrth eu hiachâu; ac y mae yn eglur fod ganddynt ffydd gref yn ei allu, pan y credent fod digon o rinwedd yn nghyffyrddiad ei law i iachâu y dyn. Ond gwendid ynddynt oedd meddwl fod yn angenrheidiol iddo ddodi ei law arno. Y peth a ddylasent hwy ei wneuthur oedd—dymuno yn unig arno ei iachâu, a gadael iddo gymeryd ei ffordd ei hun i wneuthur hyny. Mae gormod o duedd ynom ninau i syrthio i'r un camgymeriad â hwynt, trwy dori cynllun i'r Arglwydd weithredu mewn rhagluniaeth a gras, a thrwy roddi mwy o bwys ar y moddion allanol nag ar allu anweledig Duw. Fe roddodd Crist i'r bobl hyn y fendith yr oeddynt yn ei dymuno, ond nid yn hollol yn y *dull* yr oeddynt hwy yn ceisio. Y mae yn cymeryd y dyn o'r neilldu allan o'r dyrfa. Ei drefn gyffredin oedd cyflawni ei wyrthiau yn gyhoeddus, yn ngolwg y bobl, i ddangos nad oedd dim twyll ynddynt, ond y dalient yr ymchwiliad manylaf, ond yma, ac mewn un neu ddau o amgylchiadau eraill, y mae, oherwydd rhyw resymau neill-

duol, yn dewis gwneud ei wyrthiau yn ddirgelaidd. Ymddengys mai rhywbeth yn ysbryd a theimlad y dyn ei hunan oedd yn galw am iddo gael ei gymeryd fel hyn o'r neilldu, ac mai er mwyn cael gwell mantais a chyfleusdra i wneud argraffiadau dyfnion a pharhâol ar ei feddwl, yr arweiniodd yr Iesu ef allan o ganol cythrwfl ac aflonyddwch y dyrfa. Y mae yn gwneud peth cyffelyb yn fynych eto, trwy arwain llawer dyn o swn a phrysurdeb y byd i unigedd a distawrwydd gwely cystudd i lefaru wrtho, ac i iachâu ei enaid. Yr ydym yn cael iddo arwain ei bobl Israel allan o'r Aifft, ar eu penau eu hunain i ganol yr anialwch, i draddodi ei gyfraith iddynt, ac i fyned i gyfamod â hwynt, a'r un modd y mae yn gwneud peth cyffelyb yn aml â phersonau unigol.*

Wedi cymeryd y dyn o'r neilldu, "*efe a estynodd ei fysedd yn ei glustiau ef,*" &c. Yr ydoedd trwy hyn yn cyfaddasu ei weithrediadau at gyflwr y dyn. Byddai yn arfer *dweyd* rhywbeth yn gyffredin wrth y cleifion cyn eu hiachâu, i'r dyben o gynorthwyo eu ffydd, ond gan fod y dyn yma yn fyddar ofer fuasai llefaru wrtho: nid oedd un ffordd i wneud argraff ar ei feddwl ond trwy y llygad a'r teimlad. Yr oedd ar Grist eisieu cryfhau ei ffydd, a chodi dysgwyliad ynddo am y fendith, ond gan fod yn anmhosibl gwneud hyny trwy eiriau, y mae efe megys yn siarad â'r dyn trwy arwyddion, nes y deuai yn alluog i glywed. Y mae yn gosod ei fysedd yn ei glustiau ef i arwyddo ei fod yn bwriadu symud yr hyn oedd yn ei rwystro i glywed; ac y mae yn gwlychu ei fys, â dwfr ei enau, ac yn cyffwrdd â'i dafod ef, i ddangos fod yr hyn oedd yn ei rwystro i lefaru i gael ei symud. Ar yr un pryd y mae yn dangos fod y gallu i iachâu yn trigo ynddo ef ei hun; canys nid yw yn defnyddio dim o'r tu allan iddo ei hun i ryddhâu y tafod, nac i agor y glust. Ac nid yw yn defnyddio dim ond *poeryn*, i arwyddo fod yr iachâd i'w briodoli, nid i unrhyw rinwedd naturiol oedd yn y moddion, ond i allu dwyfol yr hwn oedd

* Gwel sylwadau Trench ar y Wyrth hon.

yn ei ddefnyddio. A'r un modd y gall efe wneud pethau mawrion trwy y ddwy ordinhâd o fedydd a swper yr Arglwydd, er fod llawer yn barod i'w diystyru fel pethau rhy syml a distadl. Cofiwn mai y gŵr a ryddhâodd dafod y mudan â dwfr ei enau, ac a agorodd lygaid y dall â chlai a phoeryn a sefydlodd yr ordinhadau hyn.

Dywedir yn mhellach i'r Iesu wrth iachâu y dyn yma "*edrych tua'r nef.*" Gwnaeth hyn, mae yn debygol, i argraffu ar feddwl y dyn, yr hwn oedd eto heb allu clywed, fod pob bendith a thrugaredd yn disgyn oddiuchod, a'i fod yntau yn gweithredu mewn perffaith gyd-gordiad â'r Tad. Yr ydym yn darllen iddo wneud yr un modd wrth fedd Lazarus. (Ioan xi. 41, 42.) "*Efe a ocheneidiodd*" hefyd. Parodd yr olwg ar y creadur truenus yma oedd ger ei fron iddo ymofidio yn ddwys, wrth feddwl am yr anrhaith a'r difrod oedd pechod a Satan wedi wneud ar y ddynoliaeth. Ei dosturi a'i gydymdeimlad â ni, yn ein trallodion a'n trueni, a barai iddo ocheneidio. Yna "*efe a ddywedodd wrtho, Ephphatha, hyny yw, Ymagor. Ac yn ebrwydd ei glustiau ef a agorwyd, a rhwym ei dafod ef a ddatodwyd: ac efe a lefarodd yn eglur.*" Dyma brawf arall o ddwyfol allu a Messïaeth yr Iesu. Yr oedd y proffwyd Esaiah wedi rhagfynegi am dano y byddai iddo wneud gweithredoedd o'r fath hyn. (Esaiah xxix. 28; xxxv. 5, 6.) Y mae yn dra hynod nad ydym yn darllen i'r Iesu erioed greu aelodau newyddion i neb oeddynt wedi colli eu haelodau. Wrth reswm buasai yn hawdd iddo wneud hyny. Ond dewisodd amlygu ei allu dwyfol, trwy wneud gwyrthiau i adferu a gwella ermigau ac aelodau, oeddynt yn bod eisoes, ond yn gwbl ddiddefnydd, fel clustiau a thafod y dyn yma. Diehon fod hyn wedi ei fwriadu i arwyddo ei fod ef wedi dyfod i'r byd, nid i greu, ond i waredu ac adferu. Gwaith hawdd iawn iddo ef fuasai ein dileu ni, a chreu miliwnau o ddynion cyfiawn a sanctaidd yn ein lle, ond yr oedd ei wyrthiau yn arwyddo mai nid i greu dynion newyddion, ond i achub ac adferu dynion pechadurus, yr ymddangosodd efe. Nid

rhoddi cyneddfau newyddion y mae yn yr adenedigaeth ychwaith, ond dwyn y cyneddfau oedd yn bod o'r blaen i weithredu yn briodol, yn debyg fel y gwnaeth â chlustiau a thafod y dyn yma.

"*Ac efe a waharddodd iddynt ddywedyd i neb.*" Y mae dynion yn gyffredin am i'w gorchestion a'u gweithredoedd da gael eu cyhoeddi a'u canmol; ond yr oedd yr Iesu yn hollol ddiawydd am ddynol glod. Gwir iddo orchymyn i'r dyn yr aethai y lleng allan o hono gyhoeddi hanes ei waredigaeth, a hyny yn yr un ardal ag y gwnaed y wyrth hon ganddo. (Marc v. 19, 20.) Ond yr oedd efe ei hun wedi myned o'r gymydogaeth y pryd hwnw, fel nad oedd dim perygl i hanes y wyrth hono achosi i dorfeydd lliosog ymdyru ato, nes peri anghyfleusdra a rhwystr iddo. (Marc ix. 30.) Dichon hefyd fod yr Iesu yn gweled, trwy ei berffaith adnabyddiaeth o'r galon, mai myfyrdod distaw ar y wyrth, fyddai y peth goreu ar les y dyn yma, a'i gyfeillion. Beth bynag oedd ei reswm ef dros y gwaharddiad, eu dyledswydd hwy oedd ufuddhau iddo; ond tybient hwy yn ddïau mai ei wylder a'i ostyngeiddrwydd oedd yn ei gymhell i roddi y gwaharddiad; ac am hyny, "po mwyaf y gwaharddodd efe iddynt, mwy o lawer y cyhoeddasant. A synu a wnaethant yn anfeidrol, gan ddywedyd, Da y gwnaeth efe bob peth: y mae efe yn gwneuthur i'r byddariaid glywed, ac i'r mudion ddywedyd." Y mae efe yn gwneud pethau cyffelyb i hyn eto, trwy ei Ysbryd: y mae yn agor clustiau dynion i wrando ar ei lais (Job xxxiii. 16); ac yn rhyddhâu eu tafodau i lefaru wrtho mewn gweddi, ac i fynegi ei foliant.

> "Plant afradlon sy'n dod adref,
> Rhai fu'n mhell o dir eu gwlad;
> Rhai *fu'n fudion*, sy'n clodfori
> Duw, am iechydwriaeth rad."

# XXI.

## PEDAIR MIL YN CAEL EU PORTHI YN WYRTHIOL.

"*A galwodd yr Iesu ei ddysgyblion ato, ac a ddywedodd, Yr ydwyf yn tosturio wrth y dyrfa; canys y maent yn aros gyda mi dridiau weithian, ac nid oes ganddynt ddim i'w fwyta: ac nid ydwyf yn ewyllysio eu gollwng hwynt ymaith ar eu cythlwng, rhag eu llewygu ar y ffordd, &c.*" MATH. xv. 32—39. [MARC viii. 1—9.]

MAE y fath debygolrwydd rhwng y wyrth hon â'r un arall o'r un natur, sef porthi y pum' mil, fel y mae agos bobpeth angenrheidiol ei ddweyd, mewn ffordd o eglurhâd ar hon, wedi ei ddweyd eisoes ar hono. Cyfeirir y darllenydd, gan hyny, at y sylwadau sydd i'w gweled yno. Ond er cymaint o debygolrwydd sydd rhwng prif nodweddion y ddwy wyrth, eto y maent yn gwahaniaethu yn amlwg, mewn amryw bethau. Yr oedd y dyrfa a borthwyd y tro cyntaf yn bum' mil o wŷr, ond pedair mil oeddynt y tro hwn; pum' torth oedd gan y dysgyblion y tro o'r blaen, ond yr oedd ganddynt saith dorth y tro yma; yr oedd y briwfwyd gweddill hefyd yn ddeuddeg basgedaid y tro cyntaf, ond saith basgedaid ydoedd y tro hwn. Heblaw hyny, Iuddewon oedd y rhai a borthwyd y tro cyntaf; ond y mae lle i feddwl mai Cenedloedd, o dueddau Tyrus a Sidon, oedd yn gwneud i fynu y rhan fwyaf o'r dyrfa y waith hon; ac felly yr oedd yr Iesu yn arwyddo trwy y wyrth hon, er mai yr Iuddewon oedd i gael y cynyg cyntaf ar y bara a ddaeth i waered o'r nef, eto mai nid hwynthwy yn unig oedd i gael cyfranogi o hono; ond ei fod ef wedi dyfod i'r byd i gyfranu bara y bywyd i'r Cenedloedd hefyd, yn nghyflawnder yr amser.

Y mae y sêl ar brwdfrydedd a ddangosodd y bobl hyn yn dra chanmoladwy; canys daethant yn mhell oddicartref ar ol Crist i'r anialwch, i wrando arno; cysgasant allan

yn yr awyr agored ddwy noswaith; ac arosasant gydag ef am dri diwrnod, tra y mae dwy awr o gyfarfod crefyddol yn faich ac yn flinder i lawer, yn ein gwlad a'n dyddiau ni. Yr oedd yr ychydig luniaeth a ddygasent gyda hwynt, wrth gychwyn, wedi hen ddarfod, ac yr oeddynt yn awr mewn lle anghyfanedd, a ffordd bell ganddynt i ddychwelyd adref; ac eto y mae yn debygol fod gweinidogaeth a gwyrthiau y Gwaredwr wedi effeithio cymaint ar eu meddyliau, fel nad oeddynt hwy eu hunain, ar y pryd, yn cofio nac yn meddwl dim am anghenion eu cyrff. Ond y mae yr Iesu yn tosturio wrthynt, ac yn gofalu am danynt. Er mai am iechydwriaeth yr enaid y dylid gofalu yn mlaenaf ac yn benaf, eto ni ddarfu iddo ef erioed ddysgu, trwy ei eiriau na'i weithredoedd, fod y corff i'w esgeuluso, ac mai yr enaid yn *unig* a ddylai fod gwrthddrych gofal creadur anfarwol. Y mae yn dangos ei ofal am eneidiau y bobl hyn trwy eu dysgu, ac am eu cyrff, trwy eu hiachâu a'u porthi. Ac y mae y tosturi a ddangosodd ar yr achlysur hwn yn galondid i ninau i fyned â'n hanghenion tymhorol ato; canys yr ydym yn gweled yn amlwg nad yw y pethau hyn islaw ei sylw trugarog ef. Gall dilyn Crist arwain dynion weithiau i gyfyngder ac angen, fel y bobl yma; ond y mae efe yn dra sicr o roddi amlygiadau neillduol o'i ofal am y cyfryw rai: "Gobeithia yn yr Arglwydd a gwna dda; felly y trigi yn y tir, a thi a borthir yn ddïau." (Salm xxxvii. 3.) Y mae esiampl yr Arglwydd Iesu, yn yr amgylchiad hwn, yn dangos y dylem ninau hefyd dosturio wrth y rhai sydd mewn angen, a bod yn barod i'w cynorthdwyo, os bydd hyny o fewn ein gallu: "Eithr yr hwn sydd ganddo dda y byd hwn, ac a welo ei frawd mewn eisieu, ac a gauo ei dosturi oddi wrtho; pa fodd y mae cariad Duw yn aros ynddo ef?" (1 Ioan iii. 17.)

Y mae yn ymddangos yn beth tra syn, ar yr olwg gyntaf, fod y dysgyblion yn gofyn, "*O ba le y gall neb ddigoni y rhai hyn â bara yma yn yr anialwch?*" a hwythau wedi gweled yr Iesu, ychydig amser cyn hyny, yn diwallu tyrfa

fwy mewn modd gwyrthiol, dan y cyffelyb amgylchiadau. Ond y mae tuedd ryfeddol yn y galon ddynol yn ngwyneb anhawsderau i anghofio gwaredigaethau blaenorol yr Arglwydd. Mae ein profiad ein hunain yn ddïau, ysywaeth yn tystio fod hyn yn rhy wir. Cawn brawf nodedig o hyn hyd yn nôd yn hanes un o brif wroniaid y ffydd, sef Moses: er fod yr Arglwydd o'r blaen wedi gorchuddio yr holl wersyll â soflieir (Exod. xvi. 1—7.), eto, er hyny oll, yr oedd Moses bron yn methu credu y darparai yr Arglwydd gig, yn ol ei addewid, i'r holl gynnulleidfa (Num. xi. 21, 22.) Dylem gofio hefyd, wrth ryfeddu gwendid ffydd y dysgyblion, ar yr achlysur hwn, mai nid bob amser y byddai yr Arglwydd Iesu yn gweled yn briodol wneud gwyrth i ddiwallu anghenion ei ganlynwyr. Cawn hanes ei ddysgyblion ef ei hun ryw ddiwrnod yn tynu tywys, wrth fyned trwy gae o ŷd, am fod arnynt chwant bwyd; ond ni welodd efe yn dda wneud gwyrth i'w diwallu y pryd hwnw. Ac heblaw hyny, os Cenedloedd, fel y mae yn debygol, oedd y rhan fwyaf o'r dyrfa hon fe allai fod y dysgyblion, oherwydd eu rhagfarn, yn meddwl mai prin y buasai yn weddus i'w Harglwydd wneud gwyrth i borthi paganiaid aflan felly; ac na buasai hyny fawr amgen na chymeryd bara y plant, a'i fwrw i'r cŵn.

Ond modd bynag, y mae yr Iesu, ar ol dangos ei allu dwyfol trwy iachâu y cleifion oedd yn eu plith, yn awr yn amlygu yr un gallu trwy wneud gwyrth i'w porthi; ac y mae y rhai a ddaethent ato yn fudaniaid, yn fyddariaid, yn gloffion, ac yn ddeillion, yn cael myned adref yn berffaith iach, a phawb o honynt wedi eu llawn ddigoni â'r arlwy wyrthiol, cyn cychwyn i'w ffordd yn llawen.

"*A hwy a godasant o'r briwfwyd gweddill, saith fasgedaid.*" Dywedir i'r Iesu y tro o'r blaen orchymyn yn benodol iddynt gasglu y briwfwyd gweddill, fel na chollid dim (Ioan vi. 12.) Er ei fod ef, trwy ei allu goruwchnaturiol, yn medru darparu y fath gyflawnder o ymborth yn berffaith rwydd a didraul, eto ni fynai i ddim o hono gael ei was-

traffu. Mae hyn yn dysgu y dylid bod yn gynil â gofalus, hyd yn nôd yn nghanol llawnder, a gochelyd camddefnyddio haelioni rhagluniaeth. Dichon fod rhai yn barod i ryfeddu o ba le y gallasai y dysgyblion gael basgedi wrth law yn yr anialwch. Ond yr oedd yr Iuddewon yn arfer myned â basgedi gyda hwynt yn aml wrth fyned oddi cartrefi, i gario eu lluniaeth, &c., yn debyg fel y mae dynion yn ein gwlad ni yn cario teith-godau i'w canlyn, pan yn myned i daith. Y mae y gair gwreiddiol, meddir, yn arwyddo fod y basgedi oedd gan y dysgyblion y tro hwn, yn fwy na'r rhai oedd ganddynt yn amser y wyrth o'r blaen; a dichon fod hyn yn cyfrif paham yr oedd ganddynt ddeuddeg basgedaid o friwfwyd y tro hwnw, a dim ond saith y tro hwn. Yr oedd yno fasgedaid i bob apostol y tro o'r blaen; ond basgedaid am bob torth y tro hwn. Fe allai fod y fasgedaid i bob apostol y tro o'r blaen yn arwyddo y gofalai yr Arglwydd am bob un fyddai yn barod i ymadael â phob peth ar ei alwad ef; a dichon fod rhoddi llon'd basged iddynt, yn lle pob torth oedd ganddynt, y tro hwn, yn arwyddo yn benaf, y byddent ar eu henill yn mhob aberth a wnaent, er lles eu cyd-ddynion, a gogoniant Duw.

# XXII.

## Y DYN DALL O BETHSAIDA.

"*Ac efe a ddaeth i Bethsaida; a hwy ddygasant ato un dall, ac a ddeisyfasant arno ar iddo gyffwrdd âg ef. Ac wedi ymaflyd yn llaw y dall, efe a'i tywysodd ef allan o'r dref: ac wedi iddo boeri ar ei lygaid ef, a dodi ei ddwylaw arno, efe a ofynodd iddo, a oedd efe yn gweled dim. Ac wedi edrych i fynu, efe a ddywedodd, Yr ydwyf yn gweled dynion megis prenau yn rhodio,*" *&c.* MARC viii. 22—26.

DYMA wyrth arall nad oes yr un o'r Efengylwyr ond Marc yn son dim am dani. Cyflawnwyd y wyrth hon yn Bethsaida-Julias, tref ar duedddau gogledd-ddwyreiniol môr Tiberias. Yr oedd tref arall o'r un enw gerllaw Capernaum, ar yr ochr orllewinol i'r môr. At y Bethsaida hono, ac nid at yr un lle y gwnaed y wyrth yma, y cyfeiriai yr Iesu, pan yn edliw i'r dinasoedd yn y rhai y gwnaethid y rhan fwyaf o'i weithredoedd nerthol ef, am nad edifarhasent, gan ddywedyd, "Gwae di, Chorazin; gwae di, Bethsaida; canys pe gwnaethid yn Tyrus a Sidon y gweithredoedd nerthol a wnaethpwyd ynoch chwi, hwy a edifarhasent er ys talm mewn sachlïan a lludw." (Math. xi. 20, 21.)

Yr oedd holl wyrthiau yr Arglwydd Iesu yn dwyn tebygolrwydd i'w gilydd mewn rhyw bethau. Yr oeddynt oll heb eithriad yn weithredoedd o gymwynasgarwch a thrugaredd, yn gystal ag o allu dwyfol. Yr oeddynt oll hefyd yn cael eu gwneuthur ar yr ammod o ffydd; sef, naill ai ffydd bersonol y dyoddefwyr eu hunain, neu ynte ffydd y rhai a'u dygent at yr Iesu. Ond er fod ei holl wyrthiau ar ddyn yn tebygoli i'w gilydd yn y ddwy elfen bwysig hyn, eto, yr oeddynt yn amrywio ac yn gwahaniaethu llawer yn y dull a'r modd y cyflawnid hwynt. Byddai yn iachâu rhai yn nghanol y dyrfa, ac eraill, fel y dall yma, o'r neilldu yn y dirgel; iachâi rai â gair ei enau yn unig, heb arfer unrhyw

arwyddion na chyfryngau; bryd arall byddai yn gosod ei ddwylaw ar y cleifion; a phryd arall drachefn byddai yn gwneud defnydd o ryw foddion naturiol, megys clai a phoeryn. Fe allai mai y prif reswm am y gwahaniaeth hwn yn ei ddull o weithredu oedd, ei fod yn cyfaddasu dull yr iachâd, yn mhob amgylchiad, at ansawdd meddwl, a graddau .ffydd, yr hwn a iachêid ganddo. Yr oedd efe yn gwybod beth oedd mewn dyn, a phe buasem ninau yn adnabyddus o wahanol deimladau a phrofiadau y rhai a iachâwyd ganddo, y mae yn ddïau y buasem yn canfod yn amlwg y priodoldeb a'r doethineb oedd yn ei waith yn rhoddi ei olwg i un dall â'i air yn unig; yn anfon y llall i lyn Siloam i ymolchi; ac yn poeri a dodi ei ddwylaw ar lygaid y trydydd—yn rhoddi ei olwg i un yn ngwydd y dorf; i'r llall o'r neilldu;—i un ar unwaith; ac i'r llall yn raddol, &c. Yr oedd ei waith yn cyflawni yr un gweithredoedd, mewn gwahanol ac amrywiol ffyrdd fel hyn, yn profi yn eglur hefyd nad oeddynt yn cael eu gwneuthur trwy ddim byd tebyg i swyngyfaredd; ac felly yr oedd hyn yn tueddu i ddatguddio ei allu dwyfol yn fwy amlwg.

Yr oedd ei wyrthiau yn hyn, fel mewn pethau eraill, yn gysgodau o waith ei Ysbryd ar eneidiau dynion. Y mae gwir droedigaeth yr un peth o ran ei natur, ei ammodau, a'i effeithiau, yn mhawb o'i ddeiliaid; ond y mae llawer o wahaniaeth yn amgylchiadau a dull troedigaeth y naill a'r llall. Mae rhai yn cael eu hargyhoeddi mewn unigedd a distawrwydd ar wely cystudd; eraill yn nghanol y dorf yn yr addoliad; rhai yn sydyn a disymwth, fel Saul o Tarsus, a cheidwad y carchar yn Philippi; eraill mewn dull mwy tyner a graddol fel Timotheus. Fel hyn "y mae amryw weithrediadau, ond yr un yw Duw, yr hwn sydd yn gweithredu pob peth yn mhawb." (1 Cor. xii. 6.) Y mae unoliaeth ac amrywiaeth yn nodweddu holl weithredoedd Duw mewn natur, rhagluniaeth, a gras.

Ymddengys fod ffydd y dall yma a ddygwyd at yr Iesu yn wan iawn; canys nid oes son iddo ef ei hunan ofyn am

ei olwg, fel Bartimeus ac eraill, ond ei gyfeillion sydd yn deisyf drosto. Ond yn lle ei wrthod, oblegid gwendid ei ffydd, y mae y Gwaredwr trugarog yn arfer moddion priodol i gryfhâu ei ffydd: *"Ac wedi ymaflyd yn llaw y dall, efe a'i tywysodd ef allan o'r dref."* Y mae esbonwyr yn cynyg amryw resymau i geisio egluro paham y cymerodd yr Iesu ef allan o'r dref i agoryd ei lygaid. Tybia rhai iddo gyflawni y wyrth yn ddirgelaidd rhag rhoddi achlysur i dorfeydd lliosog i ymgasglu ato, nes peri anghyfleusdra a rhwystr iddo: yr oedd arno eisieu llawer o hamdden a llonyddwch yn awr i addysgu ei ddysgyblion, er mwyn eu parotoi erbyn yr amser pwysig oedd gerllaw, pan y byddai efe yn eu gadael. Heblaw hyny, gan fod yn rhaid iddo ddyoddef a marw, y mae rhai, megys Lange ac eraill, yn barnu fod yn angenrheidiol iddo gelu rhai o'i wyrthiau, yn enwedig yn mhlith pobl hawdd effeithio ar eu tymherau, er mwyn peidio gwneuthur ei hun yn rhy boblogaidd gyda'r werin, rhag i'r bobl ymgynhyrfu o'i blaid ac atal yr awdurdodau i'w osod i farwolaeth. Ond golyga eraill drachefn, a hyny, fe allai, gyda mwy o debygolrwydd, mai lles y dyn ei hun yn benaf oedd gan y Gwaredwr mewn golwg wrth ei arwain allan o'r dref: yr oedd am gael ymddyddan âg ef yn bersonol ar ei ben ei hun, ac am i'r dyn gael agor ei lygaid gyntaf yn yr awyr agored, yn nghanol rhyfeddodau natur a gweithredoedd Duw. Pwy a all beidio rhyfeddu ei ymddarostyngiad, wrth edrych arno yn ymaflyd ei hunan yn llaw y dall i'w dywys, yn lle gorchymyn i rywun arall wneud hyny? Trowch i edrych ar y weledigaeth fawr hon! Creawdwr y bydoedd, gwrthddrych addoliad holl angelion y nef, a Goleuni y byd, yn arwain dyn dall yn dirion ac arafaidd! Un o'i ddybenion yn hyn yn ddiau oedd enill hyder y dall, a chodi dysgwyliad ynddo am y fendith. Yr oedd y dyn mud a byddar (Marc vii. 32—37.) yn analluog i'w glywed, ond yn gallu *gweled* yr arwyddion a wnaed ganddo; ond yr oedd hwn, o'r tu arall, yn analluog i *weled* unrhyw arwyddion; ond yn gallu *clywed* geiriau yr Iesu, a

theimlo ei law wrth gael ei arwain ganddo. Dichon fod yr Iesu yn amcanu dysgu hefyd trwy y weithred yma ei fod ef yn arweinydd i ddeillion mewn ystyr arall—yn arweinydd trwy ei ragluniaeth, ei air, a'i Ysbryd: "Arweiniaf y deilliaid ar hyd ffordd nid adnabuant; a gwnafi ddynt gerdded ar hyd llwybrau nid adnabuant; gwnaf dywyllwch yn oleuni o'u blaen hwynt, a'r pethau ceimion yn uniawn. Dyma y pethau a wnaf iddynt, ac nis gadawaf hwynt." (Esaiah xlii. 16.)

Wedi myned â'r dall allan o'r dref, y mae yr Iesu yn poeri ar ei lygaid ef, ac yn dodi ei ddwylaw arno. Yr oedd hi yn dyb gyffredin yn mhlith yr hynafiaid fod rhyw rinwedd meddyginiaethol mewn poeryn, yn enwedig at y llygaid. Ond nid am fod Crist o dan lywodraeth y camgymeriad hwn, nac am fod arno eisieu cynorthwy unrhyw foddion naturiol, y gwnaeth efe ddefnydd o'r poeryn yn yr amgylchiad hwn, canys y mae genym hanes am dano yn agoryd llygaid Bartimeus, ac eraill, heb ddefnyddio unrhyw foddion,—dim ond dweyd yn unig "Cymer dy olwg." Ond tybia rhai iddo boeri ar lygaid y dall yma i agor ei amrantau, y rhai oeddynt, ond odid, wedi gludio yn eu gilydd, fel y mae yn dygwydd yn fynych mewn math neillduol o ddallineb. Os felly, yr oedd Crist yma, yn ol ei arfer gyffredin, fel y sylwa un, yn defnyddio *moddion naturiol* i wneud yr hyn a ellid ei wneud trwyddynt; ac yn defnyddio ei allu gwyrthiol i wneud y peth oedd yn anmhosibl i foddion naturiol, sef rhoddi ei olwg i'r dall. "*Ac wedi iddo boeri ar ei lygaid ef, a dodi ei ddwylaw arno, efe a ofynodd iddo. a oedd efe yn gweled dim. Ac wedi edrych i fynu, efe a ddywedodd, Yr ydwyf yn gweled dynion megys prenau yn rhodio.*" Yr oedd ei olwg mor dywyll ac anmherffaith, fel yr ydoedd yn analluog i wahaniaethu rhwng dyn a phren, ond yn unig wrth weled dyn yn symud. Ymddengys nad ydoedd yn ddall o'i enedigaeth; canys y mae ei eiriau yn arwyddo ei fod wedi gweled dynion a phrenau o'r blaen. Dyma yr unig wyrth o eiddo y Gwaredwr a gyflawnwyd ganddo

yn *raddol* fel hyn, ac nid ar unwaith. Beth a allasai fod y rheswm am hyn? Paham na buasai yn adferu golwg y dall yma yn berffaith ar unwaith, fel y gwnaeth â Bartimeus, ac eraill? Mae yn debyg mai gwendid ffydd y dyn oedd yr achos o hyn. Rheol y Gwaredwr y pryd hwnw, a'i reol eto yw—rhoddi i ddynion yn ol eu ffydd. Nid oedd gan y dyn yma, ar y dechreu, ond prin ddigon o ffydd i gael haner agoryd ei lygaid, ond fe fu hyny yn foddion i gryfhâu ei ffydd yn ngallu a thosturi yr Arglwydd Iesu, ac i godi mwy o awydd a dysgwyliad ynddo am lwyr adferiad ei olwg. Yna wedi i'w ffydd ddyfod yn gryfach y mae yr Iesu yn ail gyffwrdd â'i lygaid i orphen a pherffeithio y wyrth. "*Wedi hyny y gosododd efe ei ddwylaw drachefn ar ei lygaid ef, ac a barodd iddo edrych i fynu: ac efe a gafodd ei olwg, ac efe a welai bawb o bell, ac yn eglur.*" Y mae y dull graddol a gymerodd yr Iesu i adferu golwg y dyn yma yn ddarluniad cywir a tharawiadol o'r modd y mae pechaduriaid yn gyffredin yn cael eu goleuo trwy ras. Mae Crist trwy ei Ysbryd wedi cyffwrdd â "llygaid meddyliau" ei bobl, nes eu goleuo i ryw raddau (Eph. i. 18.); ond er fod cyfnewidiad mawr wedi ei wneuthur arnynt eisoes, eto y mae gwaith mawr yn ol, cyn y byddant wedi eu perffaith oleuo; canys nid yw y rhan fwyaf o honynt yn gweled pethau ysbrydol ond yn dra thywyll ac aneglur, yr un fath a'r dyn yma "yn gweled dynion megys prenau yn rhodio." Pa faint o honom sydd yn gweled drwg pechod, gogoniant Crist, priodoliaethau Duw, a byd dyfodol, mor glir nes y mae y pethau hyn yn cael y dylanwad priodol arnom? Gobeithio dy fod ti, a minau, ddarllenydd hynaws, wedi teimlo llaw Crist yn cyffwrdd â'n llygaid, ac y gall y naill a'r llall o honom ddywedyd "Lle yr oeddwn i yn ddall, yr wyf fi yn awr yn gweled" (Ioan ix. 25.); ond y mae arnom fel y dyn yma angen am iddo gyffwrdd â'n llygaid eto, fel y delom i weled yn eglurach. Ac y mae genym le i obeithio y bydd iddo wneud hyny; canys nid yw efe yn arfer gadael ei waith achubol ar ei haner. Y mae efe yn "berffeithydd"

gystal ag yn "awdwr" ffydd (Heb. xii. 2.); ac felly gellir "bod yn hyderus yn hyn, y bydd i'r hwn a ddechreuodd ynoch waith da, ei orphen hyd ddydd Iesu Grist." (Phil. i. 6.)

Y mae yr Iesu ar ol perffaith adferu ei olwg i'r dyn, yn ei "*anfon ef adref i'w dŷ, gan ddywedyd, Na ddos i'r dref, ac na ddywed i neb yn y dref.*" Yr ydym yn cael y Gwaredwr yn aml yn rhoddi gwaharddiad cyffelyb i'r rhai a iachêid ganddo. Fe allai mai nid yr un peth fyddai yn ei gymhell i wneud hyn bob amser. Tybir iddo roddi y gwaharddiad yn yr amgylchiad hwn, yn benaf, am ei fod yn gweled mai y peth goreu ar les y dyn yma oedd ei anfon adref i fyfyrio mewn neillduedd a distawrwydd ar y wyrth. Yr oedd eisieu i'r gwirionedd gael amser i wreiddio yn ddyfnach yn ei galon, cyn y byddai efe yn gymhwys i siarad llawer am dano; ac felly, yn lle ei anfon allan i bregethu, y mae yr Iesu yn gorchymyn iddo fyned i'w dŷ, ac "arfer duwioldeb gartref." (1 Tim. v. 4.)

# XXIII.

## IACHAD Y BACHGEN LLOERIG.

*"A'r Iesu a ddywedodd wrtho, Os gelli di gredu, pob peth a all fod i'r neb a gredo. Ac yn y fan tad y bachgen, dan lefain ac wylofain, a ddywedodd, Yr wyf fi yn credu, O Arglwydd; cymhorth fy anghrediniaeth i.*"—MARC xi. 23, 24. [MATH. xvii. 14—21; LUC ix. 37—42.]

UN o'r dygwyddiadau rhyfeddaf a phwysicaf yn mywyd yr Arglwydd Iesu oedd ei wedduewidiad, ar ryw fynydd uchel yn Galilea. Ymddengys i'r amgylchiad hynod hwn gymeryd lle yn nyfnder y nos; ac yr oedd hyny yn rhoddi mantais i brydferthwch a gogoniant y weledigaeth nefol ymddangos yn fwy amlwg. Yr oedd yr Iesu wedi gadael naw o'i ddysgyblion, y prydnawn o'r blaen, mewn rhyw dref, neu bentref, wrth droed y mynydd; a chyn iddo ddyfod i waered atynt bore dranoeth, yr oedd yno ryw dad trallodus, oedd yn byw yn y gymydogaeth, wedi dyfod i chwilio am dano; ac i ddymuno arno, os gallai, fwrw allan yr ysbryd aflan oedd yn meddianu ac yn poenydio ei fab, yr hwn, fel yr hysbysir ni gan Luc, oedd yn *unig* blentyn ei rïeni. Gan nad oedd yr Iesu ei hunan i'w gael, pan ddaeth y dyn â'i fab yno, i ymofyn am dano, a chan fod y dysgyblion wedi derbyn awdurdod a gallu ganddo i fwrw allan gythreuliaid (Math. x. 8.), y maent yn ceisio bwrw allan yr ysbryd ystyfnig a chreulawn oedd yn meddianu y bachgen yma; ond y maent yn methu, oherwydd gwendid eu ffydd. Y mae yr Ysgrifenyddion a ddygwyddent fod yn bresenol ar y pryd, yn dal ar y cyfleusdra i ymosod ar y dysgyblion druain, yn absenoldeb eu Harglwydd; ac yn eu gwawdio a'u dirmygu, oblegyd eu methiant. Haerent yn ddiameu fod aflwyddiant y dysgyblion, yn yr amgylchiad hwn, yn profi nad oeddynt hwy a'u Hathraw ond twyllwyr; ac nad oedd ganddo ef, na hwythau, allu mewn gwirionedd i fwrw

allan gythreuliaid, fel y ceisient gan y byd gredu. Gwadai y dysgyblion, o'r tu arall, gywirdeb y casgliad cyfeiliornus hwn a dynai eu gelynion oddiwrth eu methiant; a dyna lle yr oedd hi yn ddadl frwd, rhwng y ddwy-blaid, pan ddaeth yr Iesu i lawr o'r mynydd atynt; ac y mae yn debyg i'w ddyfodiad sydyn ac annysgwyliadwy, ar warthaf yr Ysgrifenyddion, beri cryn ddychryn iddynt: "*A phan ddaeth efe at ei ddysgyblion, efe a welodd dyrfa fawr yn eu cylch hwynt, a'r Ysgrifenyddion yn cyd-ymholi â hwynt.*" Gallwn ddysgu yma fod gelynion yr eglwys yn sicr o ymhyfhâu i ymosod arni, a'i gwawdio, os bydd ei ffydd yn wan, a'i Harglwydd yn absenol oddiwrthi. Dyna oedd sefyllfa y dysgyblion druain yn bresenol; ac y mae yn hollol sicr fod yn dda dros ben ganddynt, yn yr amgylchiadau hyn, weled eu Hathraw mawr yn dyfod atynt, i gymeryd eu plaid ac i'w hamddiffyn. Y mae lle i feddwl, oddiwrth yr effaith a gafodd ei ymddangosiad ar y dyrfa, nad oedd gogoniant y gweddnewidiad eto wedi llwyr ddiflanu; ond fod ei wynebpryd a'i wisg yn dysgleirio eto i raddau, rywbeth yn debyg i Moses pan ddaeth efe i lawr o'r mynydd. (Exod. xxxiv. 30.) Ond yr oedd y gogoniant oedd ar wyneb Crist, yn dra gwahanol yn ei ddylanwad i'r dysgleirdeb oedd ar wyneb Moses. Yr oedd ei ogoniant ef yn dychrynu, ac yn tarfu y bobl oddiwrtho; "canys pan welsant ei wyneb ef yn dysgleirio hwy a ofnasant nesâu ato ef." Cynnrychiolydd deddf oedd Moses, a rhyw arwydd o burdeb a sancteiddrwydd y gyfraith, oedd y dysgleirdeb a welid yn llewyrchu, gyda'r fath danbeidrwydd, ar ei wyneb ef; ac nid rhyfedd, gan hyny, fod rhywbeth yn ofnadwy a bygythiol yn yr olwg ar y gogoniant hwnw, i droseddwyr y ddeddf. Y mae golwg hardd ac urddasol iawn ar y barnwr yn y llys, yn ei wisgoedd swyddol; ond y mae yr olwg ar ei wisg yn ddychryn i'r troseddwyr euog sydd i gael eu profi ger ei fron. Ac felly am y gogoniant oedd ar wyneb Moses, pan ddaeth efe i lawr o'r mynydd. Ond *Gwaredwr* oedd Crist, a "gogoniant megys yr Unig-anedig oddiwrth y Tad, *yn llawn*

*gras a gwirionedd*" (Ioan i. 14.) oedd yn llewyrchu yn ei wyneb ef; ac o ganlyniad, yr oedd yr olwg ar ei ogoniant ef, tra yn llenwi y bobl â syndod a pharchedig ofn, ar yr un pryd, yn eu denu a'u tynu ato, yn lle eu dychrynu, a'u tarfu ymaith oddiwrtho: "*Ac yn ebrwydd yr holl dyrfa, pan ganfuant ef, a ddychrynasant.*" Ond ni ddarfu iddynt geisio ffoi mewn arswyd o'i ŵydd; eithr yn lle hyny, y mae ei ogoniant yn peri iddynt "*redeg ato, a chyfarch iddo.*"

Mor fuan ag y daeth yr Iesu at yr Ysgrifenyddion, efe a ofynodd iddynt, "*Pa gyd-ymholi yr ydych yn eich plith?*" Yn nghylch pa bethau yr oeddych yn ymddadleu â'm dysgyblion? Deuwch â'ch cwestiynau i mi; canys yr wyf fi yn awr yn barod i ymgymeryd â'r gorchwyl o'u hateb drostynt hwy. Ond nid oes neb o'r rhai oeddynt mor barod i ddadleu â'r dysgyblion, yn teimlo tuedd i dderbyn yr hèr, a dechreu dadleu â'r Athraw; ac felly y maent oll yn myned o dan eu gwarth yn fud. Gyda hyn, y mae tad y bachgen yn tori ar y distawrwydd, trwy ddweyd mai yr hyn a fuasai yn achlysur o'r ddadl, oedd ei waith ef yn dwyn ei fab truenus ato, i ymofyn am iachâd a gwaredigaeth iddo. Mae y dyn yn "*gostwng ar ei liniau iddo, gan ddywedyd, Arglwydd trugarha wrth fy mab*"; ac yna y mae yn myned rhagddo i roddi desgrifiad, manwl a thorcalonus iawn, o'r cyflwr dychrynllyd yr oedd ei blentyn ynddo; ac y mae yn crybwyll iddo geisio gan y dysgyblion fwrw yr ysbryd aflan allan o hono, a'i iachâu, ond nas gallasent. Ymddengys oddiwrth yr hyn a ddywed y dyn druan, fod ei fab yn dyoddef o dan anhwyldeb deublyg—y naill yn naturiol, a'r llall yn cael ei achosi gan feddiant cythreulig. Yr anhwyldeb naturiol, yr oedd y dyn ieuanc yn ddarostyngedig iddo, oedd y gewyn-glwyf *(epilepsy)*, fel y mae yr arwyddion a nodir yn dangos. Gan y tybid fod cyfnewidiadau y lleuad yn effeithio ar y rhai a fyddent yn dyoddef o dan yr anhwyldeb hwn, gelwid hwynt yn "rhai lloerig." Felly y dywed ei dad am hwn,—"Y mae efe yn *lloerig*, ac yn flin arno." Ond heblaw yr anhwyldeb naturiol yma, yr oedd hwn yn cael ei feddianu

hefyd gan ysbryd aflan, a rhwng dau beth mor ddychrynllyd, yr oedd ei gyflwr yn druenus tu hwnt i ddarluniad. Byddai yn cael llewygfeydd, neu ffitiau, yn fynych, a hyny mor sydyn a dirybudd, fel y byddai yn syrthio weithiau i'r tân, a phryd arall i'r dwfr; a byddai yn yr adegau hyny yn cael ei ddirdynu mor greulawn, gan yr ysbryd aflan, nes y byddai yn ysgyrnygu dannedd, a'i boeryn yn berwi allan o'i enau. Yr oedd yr ysbryd drygionus a maleisus, a gymerasai feddiant o hono, wedi ei wneuthur yn fud a byddar hefyd; ac felly, er ei fod yn alluog i wneud rhyw swn, nis gallai dori geiriau yn eglur a dealladwy. Wrth gael ei boenydio fel hyn, gan yr ysbryd aflan, yr oedd "*yn dihoeni*," neu wedi myned mor wael fel nad oedd fawr o hono, ond croen ac esgyrn. Yr oedd y ffitiau yn dygwydd mor fynych, ac yn parhâu mor hir, fel nad oedd y llanc druan yn cael fawr iawn o seibiant rhyngddynt; canys "*braidd yr ymadawai yr ysbryd oddiwrtho, wedi iddo ei ysigo ef.*"

Mae y tad yn gorphen ei adroddiad torcalonus, trwy roddi hanes ymgais aflwyddianus y dysgyblion i fwrw yr ysbryd aflan allan o'r llanc: "*ac mi a ddeisyfais ar dy ddysgyblion di ei fwrw ef allan, ac nis gallent.*" Ar hyn y mae yr Iesu, gyda theimladau cymysgedig o dristwch a digllonrwydd sanctaidd (Marc iii. 5.), yn dweyd, "*O genhedlaeth anffyddlawn a throfâus pa hyd y byddaf gyda chwi? pa hyd y dyoddefaf chwi?*" Ymddengys fod y cerydd llym hwn yn cael ei fwriadu, i ryw raddau, i bawb oedd yn bresenol; canys yr oedd, hyd yn nod y dysgyblion eu hunain, i'w beio yn fawr am wendid eu ffydd. Ond er fod lle i feddwl fod y dysgyblion yn cael eu cynwys yn y cerydd, eto, y mae yn ddiamheuol ei fod yn cael ei gyfeirio yn benaf at yr Ysgrifenyddion. Yr oedd y rhai hyn wedi cael cynifer o brofion eisoes o ddwyfol anfoniad Crist, fel nad oedd efe yn bwriadu goddef eu hanghrediniaeth lawer yn hwy; ond yr ydoedd yn myned i'w rhoddi i fynu i'w cyndynrwydd eu hunain. Yr oedd hwyrfrydigrwydd ei ddysgyblion hefyd i ddeall a chredu ei eiriau yn peri blinder i'w feddwl sanctaidd (Ioan xiv. 9;

xvi. 31). Gwelai mai ychydig iawn oeddynt wedi ei ddysgu, er cymaint o drafferth a gymerasai efe gyda hwynt; a theimlai nas gallai eu gadael a myned ymaith oddiwrthynt, i'r nef, nes y byddai eu ffydd wedi dyfod lawer yn gryfach.

Ond yn lle gwrthod gwneud un wyrth yn ychwaneg, i bobl mor anghrediniol a throfâus, y mae yn dweyd wrthynt, "*Dygwch ef yma ataf fi.*" Er fod yr ysbryd cyndyn ac ystyfnig, oedd yn meddianu y llanc, wedi trechu naw o'r dysgyblion, eto, nid oedd ar yr Iesu y graddau lleiaf o ofn y byddai iddo yntau hefyd fethu ei fwrw allan; ond gwyddai yn dda ei fod ef yn gryfach na'r "cryf arfog." Mae gan y diafol lid mawr yn wastad pan y mae yn gwybod nad oes iddo ond amser byr. (Dat. xii. 12.) Felly yma, fe ymgynddeiriogodd wrth feddwl ei fod ar gael ei fwrw allan, ac a daflodd y bachgen i lawr, gan ei dreiglo yn y llwch, a'i ddirdynu yn y modd mwyaf dychrynllyd: "*A phan welodd ef, yn y man yr ysbryd a'i drylliodd ef; a chan syrthio ar y ddaear, efe a ymdreiglodd, dan falu ewyn,*" neu *dan ffoamio.** Goddefodd yr Iesu iddo wneuthur hyn, er mwyn i'r dyrfa gael mantais i weled creulondeb a gallu yr ysbryd aflan, a'i fuddugoliaeth yntau arno. Tra yr oedd y llanc ar lawr, yn y cyflwr truenus hwn, y mae y Gwaredwr yn gofyn i'w dad ef, "*Beth sydd o amser er pan ddarfu fel hyn iddo?*" Mae yn sicr mai nid er ei fwyn ei hun y gofynai efe hyn, canys yr oedd holl hanes y bachgen yn berffaith adnabyddus iddo ef, gan ei fod yn Hollwybodol. Ond dichon iddo ofyn y cwestiwn, er mwyn rhoddi cyfleusdra i'r bobl i weled, yn ngoleuni yr atebiad, fod cyflwr y bachgen mor ddrwg ac anfeddyginiaethol, fel yr oedd yn rhaid cael gallu goruwchnaturiol i'w iachâu. Neu, fe allai mai ei ddyben oedd tawelu meddwl y dyn, trwy ddechreu ymddyddan âg ef yn berffaith hamddenol a digynhwrf yn nghylch cyflwr y bachgen. Ni byddai efe byth mewn brys a chyffro, a hyny, oherwydd ei fod bob amser yn ddigon o

* Mae Satan, fel y sylwa un, yn foddlawn i'r hwn a fyddo yn ei feddiant fyned i bob man, ond at Grist.

feistr ar ei waith. Y mae y dyn, mewn atebiad i'r cwestiwn, yn dweyd fod ei blentyn wedi bod yn y sefyllfa druenus hon o'i fabandod; ac i'r dyben o gynhyrfu tosturi a chydymdeimlad yr Iesu, y mae yn myned rhagddo i ail ddesgrifio y trueni a'r perygl parhaus yr oedd y bachgen ynddo: ar yr un pryd y mae yn ei drallod a'i gyfyngder meddwl yn prysuro trwy yr atebiad, ac yn diweddu gydag erfyniad taer, gan ddywedyd, "*Ond os gelli di ddim, cymorth ni gan dosturio wrthym.*" Gan fod y dysgyblion wedi methu ei iachâu, a'i fod wedi myned yn waeth ar ol dyfod at yr Iesu, yr oedd y dyn mewn ofn ac amheuaeth yn nghylch gallu Crist ei hun i fwrw yr ysbryd aflan allan o'r bachgen.

Mae yr Iesu yn ateb trwy ddweyd wrth y dyn, "*Os gelli di gredu, pob peth a all fod i'r neb a gredo.*" Fel pe dywedasai, Nid yn nghylch fy ngallu i, ond yn nghylch dy ffydd di, y mae yr *os*, a'r amheuaeth; canys nid *rhywbeth*, ond *pob peth*, o'r natur yma, a all fod i'r neb a gredo. Nid oes dim, gan hyny, a rwystra i'th fab gael ei iachâu oddieithr dy anghrediniaeth di.' A'r un modd eto: os gelli di gredu, ddarllenydd, gelli gael maddeuant o dy holl bechodau, er mor fawrion a lliosog ydynt; glanhâd oddiwrth bob halogrwydd; buddugoliaeth ar bob gelyn; nerth i gyflawni pob dyledswydd; a modd i orfoleddu yn mhob gorthrymder, &c. Yr oedd Crist yn wastad yn gofyn ffydd yn y rhai y byddai yn gwneud gwyrthiau arnynt, neu erddynt; ac felly yr oedd yn rhaid, naill ai i'r personau fyddent yn cael eu hiachâu, neu ynte i'r rhai fyddent yn eiriol drostynt, fod yn feddianol ar ffydd. Gan fod y llanc yma, oherwydd ei wallgofrwydd, yn analluog i gredu yn Nghrist drosto ei hunan, fe wnai ffydd ei dad y tro i gael gwaredigaeth iddo. Deallai y dyn yn awr, fod y cwbl yn troi ar ei waith ef yn credu; teimlai ymrysonfa galed yn ei fynwes rhwng ffydd ac anghrediniaeth; ac ofnai yn ddirfawr rhag i wendid ei ffydd ef fod yn rhwystr i'w fab i gael iachâd; ac am hyny, y mae yn y fan, "*dan lefain ac wylofain, yn dywedyd, Yr wyf fi yn credu, O Arglwydd, cymorth fy anghrediniaeth i.*" Y mae

fod dyn yn teimlo ei anghrediniaeth yn brawf fod ganddo ryw gymaint o ffydd; canys nid yw y marw ysbrydol mwy na'r marw naturiol yn teimlo ei wendid. Nis gellir gwybod nerth y llifeiriant, pan y mae yn rhedeg yn mlaen yn llonydd a distaw, heb gyfarfod âg unrhyw wrthwynebiad. Rhaid codi gwrthglawdd ar ei ffordd, os mynir gweled ei rym. A'r un modd, rhaid cael egwyddor o ras yn y galon, i wrthsefyll pechod, cyn y teimla yr enaid nerth ei lygredd. Felly y ffydd wan, oedd gan y dyn yma, a barai iddo allu amgyffred a theimlo ei anghrediniaeth. Mae yn gweddio am i'w anghrediniaeth gael ei feddyginiaethu, a'i symud oddiar y ffordd; ac am i'w ffydd gael ei chryfhâu. Fe fedr Crist wneuthur hyny. Yr oedd y sarff bres yn Israel gynt, trwy y rhinwedd gwyrthiol oedd ynddi, yn medru iachâu pawb a edrychent arni, wedi iddynt gael eu brathu gan y seirff tanllyd. Ond pe buasai rhyw ddyn dall yn dygwydd cael ei frathu, nis gallasai y sarff bres roddi llygad i hwnw i edrych arni. Ond am Grist, y mae efe, nid yn unig yn medru achub yr enaid a gredo ynddo; ond y mae hefyd yn medru rhoddi tuedd a chymorth i gredu. Y mae efe nid yn unig yn *wrthddrych;* ond hefyd yn *awdwr* ffydd. Llefwn am iddo "ychwanegu ein ffydd ni, a chyflawni holl foddlonrwydd ei ddaioni, a gwaith ffydd yn nerthol."

Wrth glywed y dyn yn ymbil fel hyn, y mae y bobl yn ymwthio i'r lle, mewn awydd am gael gweled beth a fyddai y canlyniad: "*A phan welodd yr Iesu fod y dyrfa yn cydredeg ato, efe a geryddodd yr ysbryd aflan, gan ddywedyd wrtho, Tydi ysbryd mud a byddar, yr wyf fi yn gorchymyn i ti, Tyred allan o hono, ac na ddos mwy iddo ef.*" Y mae yr Iesu yn llefaru yma wrth yr ysbryd aflan gyda mawredd ac awdurdod anwrthwynebol. Fel pe dywedasai wrtho, "Nid fy nysgyblion sydd yn llefaru wrthyt yn awr, ond *myfi*, yr hwn a adwaenost yn dda, ac y gwyddost na feiddi gynyg fy ngwrthsefyll; yr wyf *fi*, nid yn dymuno arnat, ond yn *gorchymyn* i ti ddyfod allan o hono; ac yr wyf yn dy roddi dan dy rybudd i beidio ei boenyddio mwy." Sonir am yr

ysbryd aflan yn myned allan o rai, o hono ei hun, gan gloi y drws wrth gychwyn, a chymeryd yr allwedd i'w ganlyn, fel y gallo ddychwelyd yn ol i'w dŷ pan y myno. (Math. xii. 44.) Ond yma, y mae Crist yn bwrw yr ysbryd aflan allan o'i anfodd, gan gloi y drws ar ei ol, a chadw yr agoriad ei hunan, rhag ofn iddo ddychwelyd. "*Ac wedi i'r ysbryd lefain a dryllio llawer arno ef, efe a aeth allan.*" Y mae yn gorfod ufuddhâu, ond y mae yn gwneud hyny gydag arwyddion o'r llid a'r anfoddlonrwydd mwyaf, yn debyg i denant drwg, wrth gael ei droi allan, medd Thomas Fuller, yn gwneud cymaint ag a allo o niwed i'r tŷ cyn cychwyn. Fe ddirdynwyd y llanc mor arswydus a dychrynllyd, gan yr ysbryd aflan, ar ei fynediad allan, nes "*yr oedd efe fel un marw, fel y dywedodd llawer ei farw ef. A'r Iesu a'i cymerodd ef erbyn ei law, ac a'i cyfododd; ac efe a safodd i fynu.*" Y mae yr Iesu trwy ei gyffyrddiad yn rhoddi nerth a bywyd newydd ynddo, fel y mae yn cyfodi yn berffaith iach. Yr oedd gallu gwyrthiol Crist yn cael ei ddangos yn hyn, yn gystal ag yn ei waith yn bwrw allan yr ysbryd aflan. Wedi iddo fel hyn ei gwbl iachâu, efe "*a'i rhoddes ef i'w dad,*" yr hwn a'i derbyniodd yn ddïau gyda syndod a llawenydd annhraethadwy.

Ar ol iddynt gyrhaedd y tŷ, lle yr oedd yr Iesu ar hyn o bryd yn lletya, daeth ei ddysgyblion ato, o'r neilldu, ac a ofynasant iddo, "*Paham na allem ni ei fwrw ef allan?*" Yr oedd y cwestiwn yn un digon naturiol, gan ei fod ef wedi rhoddi "awdurdod iddynt yn erbyn ysbrydion aflan, i'w bwrw hwynt allan" (Math. x. 1.), a chan eu bod hwythau wedi llwyddo i wneuthur hyny ar achlysuron eraill. (Luc x. 17.) "*A'r Iesu a ddywedodd wrthynt, Oblegyd eich anghrediniaeth: canys yn wir y dywedaf i chwi, Pe bai genych ffydd megys gronyn o had mwstard, chwi a ddywedech wrth y mynydd hwn, Symud oddiyma draw, ac efe a symudai: ac ni byddai dim anmhosibl i chwi.*" Y mae yn sicr fod gan y dysgyblion ffydd, o ran yr egwyddor; ond yr oedd eu ffydd, ar yr achlysur yma, oherwydd rhyw resymau, wedi

pallu o ran ei gweithrediadau, fel yr oeddynt wedi myned i amheu, naill ai na allai, neu ynte na wnai, eu Harglwydd eu galluogi i fwrw yr ysbryd ystyfnig a chreulawn yma allan—a dyna yr achos o'u haflwyddiant. Yr oedd symud mynyddoedd yn ymadrodd diharebol, yn mhlith yr Iuddewon, am gyflawni pethau a ymddangosent yn annichonadwy, a meddwl y Gwaredwr oedd—pe buasai ganddynt ond y gronyn lleiaf o wir ffydd, yn gweithredu yn fywiog trwy ymddiried yn ei allu a'i ffyddlondeb ef, y byddai i hyny eu gwneud yn alluog i gyflawni pethau mor anhawdd, i olwg dyn, â symud y mynydd oedd gerllaw iddynt, os byddai hyny yn angenrheidiol er gogoniant Duw a llwyddiant ei achos. Mae ffydd yn dwyn ei pherchenog i undeb â Hollalluowgrwydd, ac felly ni bydd dim, sydd yn angenrheidiol i gyrhaedd y dybenion goruchel a nodwyd, yn anmhosibl iddi. Y mae hi wedi profi ei hun yn alluog i hollti y môr, cau safnau llewod, diffodd angerdd y tân, a pheri i'r haul sefyll ar ganol ei yrfa. Felly y mae yn amlwg mai diffyg ffydd oedd yr achos i'r dysgyblion yn awr fethu bwrw yr ysbryd aflan yma allan. Yr oedd hwn yn un o'r rhywogaeth waethaf o ysbrydion drwg; ac am hyny, yr oedd eisieu graddau neillduol o gynnorthwyon dwyfol i'w fwrw allan, a thrwy weddi daer, ac ymostyngiad dwys ger bron Duw, yr oedd y cynnorthwyon hyny i'w cael. Y mae yn ddïau fod aflwyddiant yr eglwys eto, yn eu hymdrechion i ddiwygio y byd, a bwrw y drygau sydd ynddo allan o hono, i'w briodoli i'r un achos, sef gwendid ei ffydd. O! na byddai genym gymaint o ffydd ag oedd gan Elias y Thesbiad; Ioan Fedyddiwr; yr apostol Paul; Martin Luther; a diwygwyr enwog eraill. Gadewch i ni fynych weddio o'r galon fel y dysgyblion, "Arglwydd, Anghwanega ein ffydd ni." (Luc xvii. 5.)

## XXIV.

## Y DARN ARIAN YN SAFN Y PYSGODYN.

"*Er hyny, rhag i ni eu rhwystro hwy, dos i'r môr, a bwrw fach, a chymer y pysgodyn a ddêl i fynu yn gyntaf; ac wedi i ti agoryd ei safn, ti a gei ddarn o arian: cymer hwnw, a dyro iddynt drosof fi a thithau.*"—MATH. xvii. 27.

MATHEW ydyw yr unig un o'r Efengylwyr sydd yn adrodd hanes y wyrth hon. Mae yn deilwng o'n sylw, na byddai yr Arglwydd Iesu byth yn defnyddio ei allu gwyrthiol i wasanaethu i'w anghenion personol ei hun, ond yn wastad i'r dyben o wneud lles i eraill. Gellid meddwl, ar yr olwg gyntaf, fod y wyrth hon yn eithriad i'r rheol, ac iddo yma, am unwaith, roddi ei allu dwyfol ar waith er mwyn gwneud i fynu ei anghen ei hun. Ond gan y gallasai yn hawdd gael y swm bychan o arian oedd arno ei eisieu, ar y pryd, trwy ofyn am dano i rai o'i gyfeillion, nid yw yn debygol y buasai yn gweled yn werth gwneud gwyrth heb fod ganddo ryw amcan uwch na hyn mewn golwg ynddi. Ac wrth graffu ar yr hanes, fe welir yn bur amlwg, mai ei brif ddyben wrth wneud gwyrth i gael arian i dalu y dreth—oedd cryfhâu ffydd Pedr ynddo fel Mab Duw. Y mae yn wir fod Pedr eisoes wedi cyffesu ei ffydd yn ei Dduwdod, ond byddai weithiau, er hyny, yn colli ei olwg ar ddwyfoldeb ei Berson; ac y mae ei atebiad i'r treth-gasglwyr yn arwyddo ei fod wedi gwneud hyny yn awr; ond y mae yr Iesu yn cyflawni y wyrth hon i'r dyben o argraffu ystyriaethau priodol o'i fawredd a'i ogoniant dwyfol, yn ddyfnach ar feddwl Pedr. Felly fe welir iddo wneud y wyrth hon, fel ei holl wyrthiau, er mwyn arall, yn hytrach nag er ei fwyn ei hun.

"*Ac wedi dyfod o honynt i Capernaum, y rhai oedd yn derbyn arian y deyrnged a ddaethant at Pedr, ac a ddywedasant,*

*Onid yw eich athraw chwi yn talu teyrnged? Yntau a ddywedodd, Ydyw.*" Nid teyrnged yn cael ei thalu i'r llywodraeth Rufeinig oedd hon, ond y dreth flynyddol, o haner sicl, sef oddeutu pymtheg ceiniog o'n harian ni, a delid gan bob Iuddew, o ugain mlwydd oed ac uchod, tuag at wasanaeth y deml. (Exod. xxx. 11—16; 2 Bren. xii. 4; 2 Chron. xxiv. 5, 6, 9.) Arferid ei chasglu yn mis Adar (Mawrth); ond ymddengys nad oedd gorfodaeth ar neb i'w thalu, os na byddai yn ewyllysio gwneuthur hyny. Y mae yn bosibl fod casglwyr y dreth yma yn gweled yr Iesu a'i ddysgyblion yn myned trwy yr heol, ar ei ddychweliad i'r ddinas, ar ol bod yn absenol am dymhor, ond nid ydynt yn mentro son dim wrtho ef ei hun am y dreth; eithr y maent yn troi at Pedr, yr hwn oedd, fe allai, yn cerdded ychydig ar ol ei Arglwydd, ac y maent yn gofyn i'r apostol, Ai nid oedd ei Athraw yn talu teyrnged? Nis gellir penderfynu gyda sicrwydd, yn mha ysbryd, nac oddiar ba egwyddor a dyben, y gofynid y cwestiwn. Tybia rhai nad oedd y Rabbiniaid, mwy na'r offeiriaid a'r Lefiaid, yn arfer ei thalu, a chan fod Iesu Grist yn ddysgawdwr crefyddol, eu bod mewn petrusder pa un a ddylasent ofyn iddo ef ei thalu ai peidio. Modd bynag, y mae Pedr yn ateb yn ddibetrus fod ei Arglwydd yn talu y dreth. Dichon mai cymeryd hyn yn ganiatáol yr ydoedd, am ei fod yn gwybod fod gan yr Iesu gymaint o barch i addoliad a gwasanaeth Duw. Ond bu braidd yn rhy frysiog yn ei atebiad; canys be buasai yn ystyried perthynas neillduol Crist, fel Person dwyfol, â'r deml, buasai yn gweled ar unwaith ei fod ef uwchlaw pob rhwymedigaeth i dalu y dreth yma, gan mai tŷ ei Dad ef oedd y deml, a'i fod yno fel Mab ar ei dŷ ei hun, ac nid fel gwas yn nhŷ un arall. Yr oedd offrymau dwyfol i gael eu rhoddi iddo ef, yn hytrach na'u gofyn oddiwrtho.

Wedi i Pedr gyrhaedd i'r tŷ, a chyn iddo gael amser i ddweyd yr un gair yn nghylch y mater, y mae yr Iesu yn dangos ei Hollwybodaeth trwy roddi ar ddeall iddo ei fod yn berffaith hysbys o'r ymddyddan a fuasai rhwng Pedr

a'r swyddogion, ar yr heol; ac y mae yn awgrymu ddarfod fod braidd yn rhy fyrbwyll wrth ateb y cwestiwn fel y iddo gwnaethai:—"*Ac wedi ei ddyfod ef i'r tŷ, yr Iesu a achubodd ei flaen ef, gan ddywedyd, Beth yr wyt ti yn ei dybied, Simon? gan bwy y cymer brenhinoedd y ddaear deyrnged neu dreth? gan eu plant eu hun, ynte gan estroniaid?*" Y mae megys yn gofyn iddo, ar ba dir y tybiai ei fod ef yn talu y dreth yma? Oni byddai hyny yn groes i arferiad holl deuluoedd brenhinol y ddaear? Pa un ai gan eu meibion, ynte gan eu deiliaid, y mae brenhinoedd y ddaear yn cymeryd treth? "*Pedr a ddywedodd wrtho, Gan estroniaid. Yr Iesu a ddywedodd wrtho, Gan hyny y mae y plant yn rhyddion.*" Gan mai oddiwrth estroniaid, ac nid oddiwrth eu plant, y mae llywodraethwyr daearol yn derbyn teyrnged, nid oes gan neb hawl i ofyn i feibion brenhinoedd dalu treth. A'r un modd, gan fod Crist yn Fab i'r Brenin tragywyddol, ac mai tŷ ei Dad ef oedd y deml, yr oedd efe yn rhydd oddiwrth bob rhwymedigaeth i dalu y dreth yma tuag at wasanaeth y deml. Ond nid yw am sefyll ar ei hawl i beidio ei thalu, rhag iddo, wrth hyny, roddi tramgwydd diangenrhaid i'r rhai nid oeddynt yn credu ynddo: "*Er hyny, rhag i ni eu rhwystro hwy,*" meddai, "*dos i'r môr, a bwrw fach, a chymer y pysgodyn a ddel i fynu yn gyntaf; &c.*" Buasai peidio talu y dreth yn rhoddi achlysur i'r casglwyr, ac eraill, i feddwl nad oedd ganddo ddim parch i'r deml a'i gwasanaeth, a buasent yn tybied nad oedd ei waith yn honi ei fod yn Fab Duw, yn ddim ond esgus yn unig er mwyn peidio talu y dreth. Fel hyn buasai eu meddyliau yn debyg o gael eu llenwi â rhagfarn yn ei erbyn ef, a'i athrawiaeth. Ni byddai efe byth yn cilio oddiar lwybr dyledswydd rhag ofn tramgwyddo dynion; ond yr ydoedd bob amser yn ochelgar iawn rhag rhoddi tramgwydd diachos i neb; ac yn hyn fe adawodd i ninnau esiampl fel y canlynem ei ol ef: "Da yw na fwytäer cig, ac nad yfer gwin, na dim trwy yr hyn y tramgwydder, neu y rhwystrer, neu y gwanhâer dy frawd." "Heb roddi dim achos tramgwydd mewn

dim, fel na feier ar y weinidogaeth." (Rhuf. xiv. 21; 2 Cor. vi. 3.)

Yr ydym yma yn gweled tlodi yr Arglwydd Iesu. Y fath syndod fod "etifedd pob peth" heb gymaint â phymtheg ceiniog i dalu y dreth! "Chwi a adwaenoch ras ein Harglwydd Iesu Grist, iddo ef, ac yntau yn gyfoethog, fyned er eich mwyn chwi yn dlawd, fel y cyfoethogid chwi trwy ei dlodi ef." (2 Cor. viii. 9.) Ond yn yr amgylchiad hwn, fel ar achlysuron eraill yn ei fywyd, y mae ei ogoniant dwyfol i'w weled yn ymddysgleirio yn amlwg, yn nghanol ei dlodi a'i ddarostyngiad. Y mae yn profi yn eglur, trwy y dull a gymerodd i dalu y dreth, ei fod, fel yr honai, yn Fab Duw, ac felly nad ydoedd dan unrhyw rwymedigaeth i'w thalu. Mae y wyrth hon yn dangos ei Hollwybodaeth. Yr oedd ei lygad pan yn nhŷ Pedr yn treiddio i waelod môr Galilea, ac yn gweled y pysgodyn oedd yno â'r darn arian yn ei safn, a gwyddai pa ddarn ydoedd, fel yr oedd yn gallu crybwyll ei enw, a dweyd wrth yr apostol, "wedi i ti agoryd ei safn, ti a gei *stater*," yr hyn oedd tua haner coron o'n harian ni. Yn sicr ni thywylla y tywyllwch rhagddo ef; "ac nid oes greadur anamlwg yn ei olwg ef: eithr pob peth sydd yn noeth ac yn agored i'w lygaid ef am yr hwn yr ydym yn son." (Heb. iv. 13.) Yr ydym yn gweled ei allu a'i lywodraeth yma hefyd, yn ei waith yn peri i'r pysgodyn hwnw ddyfod i'r fan lle yr oedd Pedr yn sefyll, a chydio yn gyntaf yn y bach. Gallasai beri i'r pysgodyn ddyfod o'r môr o hono ei hun, ac ymddangos ar y bwrdd yn nhŷ Simon, ond ni byddai byth yn gwastraffu ei allu gwyrthiol i arbed llafur dynol, ac i gefnogi segurdod. Y mae Mathew Henry yn sylwi, y gallasai yr Iesu dderbyn y darn arian yma o law angel, pe buasai yn ewyllysio, ond iddo ddewis yn hytrach ei gymeryd o safn y pysgodyn, am fod hyny yn cydweddu yn well â'i gyflwr o ddarostyngiad.

Paham y talodd yr Iesu dros Pedr, mwy na'r dysgyblion eraill, nis gwyddom. Fe allai fod y lleill yn absenol, neu wedi talu mewn man arall.

Y mae y wyrth hon yn cynwys yr anogaeth gryfaf i ymddiried yn yr Arglwydd yn mhob cyfyngder. Y mae pob gallu ac awdurdod yn ei law. Medr beri i adar yr awyr ddyfod â bwyd, a physgod y môr ddyfod âg arian i'w bobl, os bydd hyny yn angenrheidiol, er eu lles hwy, a'i ogoniant ei hun.

'O Arglwydd Dduw rhagluniaeth,
Ac iechydwriaeth dyn,
Tydi sy'n llywodraethu
Y byd a'r nef ei hun;
Yn wyneb pob caledi
Y sydd, neu eto a ddaw,
Dod gadarn gymhorth imi
I lechu yn dy law."

# XXV.

## Y DEG GWAHANGLEIFION.

"*A'r Iesu gan ateb a ddywedodd, Oni lanhâwyd y deg? ond pa le y mae y naw? Ni chaed a ddychwelasant i roi gogoniant i Dduw, ond yr estron hwn.*"—Luc xvii. 17, 18.

Pregethwr teithiol oedd Iesu Grist. Efe "a gerddodd o amgylch gan wneuthur daioni." (Act. x. 38.) Yr ydoedd yn awr ar ei daith o Galilea i Jerusalem; ac y mae yr hanes yn dweyd iddo fyned "trwy ganol Samaria." Yr ydoedd wedi cael anmharch ac angharedigrwydd mawr gan y Samariaid, pan ar ei daith trwy eu gwlad dro o'r blaen (Luc ix. 52, 53); ond ni pharodd hyny iddo beidio myned yno mwyach, er y gallasai fyned i Jerusalem ar hyd ffordd arall, ond cymeryd tipyn o gwmpas. Pan oedd efe yn myned i mewn i ryw dreflan, ar gyffiniau Samaria, "*cyfarfu âg ef ddeg o wŷr gwahangleifion, y rhai a safasant o hirbell: a hwy a godasant eu llef, gan ddywedyd, Iesu Feistr, trugarhâ wrthym.*" Yr oedd gweled un gwahanglwyfus yn olygfa bruddaidd a gresynus iawn, ond yr oedd yma *ddeg* o'r trueiniaid hyn gyda'u gilydd. Yr oeddynt wedi clywed am wyrthiau Crist, ac y mae yn debygol eu bod yn ei ddysgwyl y ffordd hono, ar ei daith i'r ŵyl. Gellid meddwl, oddiwrth eu cyfarchiad, eu bod yn edrych arno fel proffwyd enwog, yn hytrach nag fel y Messiah, ond yr oeddynt yn credu fod ganddo allu i'w glanhâu; canys clywsent ei fod wedi glanhâu eraill cyffelyb iddynt. Maent yn sefyll o hirbell, oherwydd eu haflendid, ac yn codi eu llef, i gydymbil yn daer arno dosturio wrth eu cyflwr truenus, a'u gwneuthur yn lân. "*A phan welodd efe hwynt, efe a ddywedodd wrthynt, Ewch a dangoswch eich hunain i'r offeiriaid.*" Yr oedd yn rhaid i'r gwahanglwyfus gael ei edrych gan yr offeiriad, a'i gyhoeddi yn lân, cyn y caniatêid iddo fwynhâu ei ragorfreintiau, fel aelod o gymdeithas, ac ymddangos yn nheml yr Arglwydd. (Lef. xiv.) Dangosai Crist yn

amlwg fod ei wyrthiau yn cael eu cyflawni trwy allu dwyfol, ac nid trwy ddim byd tebyg i swyngyfaredd, yn ei waith yn iachâu yr un afiechyd mewn amrywiol a gwahanol ffyrdd. Nid yr un fath ag yr iachâodd y gwahanglwyf, ar achlysuron eraill, y gwnaeth hyny y tro yma. (Math viii. 2, 3.) Mae yn gosod ei law ar y gwahanglwyfus, wrth droed y mynydd, ac yn ei lanhâu *cyn* ei anfon at yr offeiriad; ond nid yw yn gwahodd y trueiniaid hyn i nesu ato, nac yn estyn ei law i gyffwrdd â hwynt, eithr y mae yn profi eu ffydd, trwy orchymyn iddynt fyned at yr offeiriaid, i gael eu cyhoeddi yn lân, *cyn* i'r gwahanglwyf ddechreu ymadael â hwynt. Gwyddent mai ofer fuasai iddynt fyned i'r drafferth o deithio yn mhell, i ddangos eu hunain i'r offeiriaid, heb eu glanhâu; ond nid oedd un arwydd arnynt eto yr iachêid hwynt, ac ni roddodd yr Iesu yr un addewid bendant iddynt ychwaith, y caent eu glanhâu ar y ffordd. Ac eto, yr oedd ganddynt gymaint o ffydd na byddai eu gwaith yn myned ar orchymyn Crist yn ofer, fel y maent yn cychwyn yn ddioed, i ymofyn ysgrifdyst *(certificate)*, o'u glanhâd, *cyn dechreu* dyfod yn lân. Pe buasai rhywun yn eu cyfarfod ar y ffordd, ac yn gofyn iddynt i ba le yr oeddynt yn myned, a hwythau yn ateb mai i Jerusalem, at yr offeiriaid, i gael eu cyhoeddi yn lân, buasai yr ymholydd yn synu atynt, ac yn barod i ddweyd, "Eich cyhoeddi yn lân! Pa beth ydych yn ei feddwl? Yr ydych mor llawn o'r gwahanglwyf, druain, ag y dichon i ddynion fod." Buasent yn ateb, eu bod yn credu y byddai i'r hwn a orchymynodd iddynt fyned, eu gwneuthur yn lân, cyn y cyrhaeddent i ben eu taith. Ein dyledswydd ninau yw dilyn eu hesiampl, trwy roddi ufudd-dod uniongyrchol i holl orchymynion Crist, heb gynyg gwrthddadleu, nac "ymgynghori â chig a gwaed." "Beth bynag a ddywedo efe wrthych, *gwnewch*." (Ioan ii. 5.)

Mae yr Efengylwr yn myned rhagddo i hysbysu i ni beth a fu y canlyniad dedwydd o'u hufudd-dod ffyddiog: "*A bu fel yr oeddynt yn myned, fe a'u glanhâwyd hwynt.*" Nid aethant nemawr o ffordd cyn dechreu teimlo rhyw gyfnewidiad

rhyfedd yn cerdded trwy eu holl aelodau pwdr. Y maent yn edrych ar eu dwylaw, ac wele! er syndod y maent wedi eu hollol lanhâu oddiwrth y gwahanglwyf! Edrychant yn ngwynebau eu gilydd, a sicrha y naill i'r llall, nad oes unrhyw olion o'r pla dychrynllyd yn aros ar wyneb yr un o honynt! Mae eu llawenydd yn annhraethadwy; ac y maent yn son wrth eu gilydd mor llawen fyddai eu teuluoedd, pan y gwelent hwynt yn dychwelyd adref yn berffaith iach! Nid yw ufudd-dod i Grist byth yn colli ei wobr. Ar lwybr ufudd-dod i'w orchymyn y mae i ninau ddysgwyl glanhâd oddiwrth ein pechodau. Dyna y wers neillduol a ddysgir i ni yn yr hanes yma. Mae ar lawer eisieu cael calon newydd cyn myned at Grist. Ond ein dyledswydd ydyw ymdrechu ufuddhâu iddo, *fel yr ydym.* Er teimlo ein hunain yn aflan, ymarferwn yn ddiwyd â'r moddion a ordeiniodd Crist i aileni a sancteiddio pechadur; ac ymdrechwn wneud pobpeth y mae efe yn ei orchymyn, a hyny mewn dysgwyliad am ei fendith ef; a chawn weled, er ein cysur, na bydd "ein llafur ni yn ofer yn yr Arglwydd."

Y mae ufudd-dod y gwahangleifion hyn yn deilwng o ganmoliaeth ac efelychiad; ond beth a fu eu hymddygiad tuag at eu cymwynaswr caredig ar ol eu glanhâu? Fel hyn y dywed yr hanes: "*Ac un o honynt, pan welodd ddarfod ei iachâu, a ddychwelodd, gan folianu Duw â llef uchel. Ac efe a syrthiodd ar ei wyneb wrth ei draed ef, gan ddiolch iddo. A Samariad oedd efe.*" Gellid meddwl nad oeddynt wedi myned fawr o ffordd pan lanhâwyd hwynt. Y mae un o honynt yn troi yn ol, ac yn brysio at yr Iesu, gyda llawenydd, i i ddiolch iddo. Ond y mae y lleill yn myned yn mlaen at yr offeiriad, i gael eu cyhoeddi yn lân; ac yna yn myned adref at eu teuluoedd, yn lle dychwelyd at Grist i ddiolch iddo! Pwy a all beidio rhyfeddu a chondemnio eu hanniolchgarwch gwarthus? Meddyliwch am werth y fendith yr oeddynt wedi ei derbyn:—cael eu llwyr iachâu oddiwrth y fath bla dychrynllyd, a hyny ar unwaith, yn rhad, ac yn hollol ddidrafferth; a meddyliwch hefyd mor hawdd a fuasai

iddynt fyned at y Gwaredwr trugarog i ddiolch iddo! Mor wrthun yr ymddengys eu hymddygiad! Ond y mae llawer eto yn gyffelyb iddynt, ysywaeth. Mae yn ddigon hawdd cael dynion i weddio yn daer, neu o leiaf i ddymuno ar eraill weddio drostynt, pan y byddont mewn cyfyngder a pherygl, ond ychydig a welir yn dyfod i ddiolch i Dduw am y waredigaeth ar ol ei chael. Tybia rhai y buasent yn sicr o gredu pe cawsent weled gwyrth. Ond y mae hanes y gwahangleifion hyn yn dangos y gall dynion fod, nid yn unig yn dystion, ond hefyd yn *ddeiliaid* gwyrth, heb gael eu hail-eni. Fe wnaed gwyrth, nid yn unig yn ngolwg, ond hefyd *ar* y rhai hyn; ac eto y maent yn parhâu yn annychweledig! Nis gall na chystudd na chyfyngder, nac unrhyw ddygwyddiad allanol, o hono ei hun, gyfnewid calon pechadur. "Oni wrandawant ar Moses a'r proffwydi, ni chredant chwaith pe codai un oddiwrth y meirw." (Luc xvi. 31.)

Y mae Crist yma, fel garddwr ar ol hau hâd da yn ei ardd, yn edrych am egin; ond nid oes dim ond un grwn o'r deg yn dwyn ffrwyth: "*A'r Iesu gan ateb a ddywedodd, Oni lanhâwyd y deg? ond pa le y mae y naw? Ni chaed a ddychwelasant i roi gogoniant i Dduw, ond yr estron hwn.*" Wele yma brawf o Hollwybodaeth yr Iesu. Gwyddai fod y deg wedi eu glanhâu, er eu bod allan o'i olwg. Ond un o honynt yn unig a ddaeth i ddiolch am ei lanhâd, a Samariad oedd hwnw. Iuddewon, ond odid, oedd y lleill, ac felly yr oeddynt yn llawer helaethach eu manteision a'u breintiau na hwn. Ond oddiwrth y rhai lleiaf eu manteision, a mwyaf annhebyg i olwg dynion, y mae Duw yn aml yn cael y deyrnged helaethaf o ogoniant. Mae rhai sydd yn coleddu llawer o syniadau cyfeiliornus, yn rhagori yn fynych yn eu hymddygiadau, ar rai sydd yn fwy cywir eu barn am athrawiaethau crefydd. Yr oedd gan y naw eraill benau mwy goleu, na'r "estron hwn;" ond ganddo ef yr oedd y galon fwyaf tyner. Mae geiriau yr Iesu yn arwyddo ei fod yn rhyfeddu, ac yn mawrygu diolchgarwch y Samariad hwn, fel y darfu iddo o'r blaen ddatgan ei syndod at ffydd un arall o'r Cenhedl-

oedd. (Math. viii. 10.) Yr oedd amryw bethau tra chanmoladwy yn null hwn o ddiolch. (1.) Mae yn diolch *yn unigol.* Gwyddom fod tuedd gref mewn dyn i ddilyn y llïaws, a myned gyda'r mwyafrif. Ond yn lle dilyn esiampl ei gymdeithion anniolchgar, y mae hwn yn dychwelyd wrtho ei hun at yr Iesu i ddiolch iddo. (2.) Mae yn diolch *yn ostyngedig:* "efe a syrthiodd ar ei wyneb wrth ei draed ef, gan ddiolch iddo," medd yr hanes. (3.) Mae yn diolch *yn gyhoeddus.* Dywedir ei fod yn "molianu Duw *â llef uchel.*" Mae ar lawer gywilydd i neb eu clywed yn diolch, neu yn dweyd Amen; ond nid felly hwn.

Wrth ddychwelyd fel hyn i ddiolch, yr oedd y Samariad yma yn "*rhoi gogoniant i Dduw.*" "Yr hwn a abertho foliant, a'm gogonedda i," medd yr Arglwydd (Salm l. 23.); a dyma aberth y gall pawb ei gyflwyno. Nid oes neb yn rhy dlawd i "dalu iddo o loi eu gwefusau." Yr oll y mae efe yn ei ddysgwyl, ac yn ei geisio genym, am ei roddion a'i drugareddau aneirif, yw y diolch a'r gogoniant; ac y mae yn rhaid iddo gael hwnw. Os na *roddwn* ef iddo yn wirfoddol, bydd yn sicr o redeg arnom am dano, fel y gwnaeth â Pharaoh, a Herod, ac eraill. Rhoddwn i'r Arglwydd ogoniant ei enw. "Fy enaid, bendithia yr Arglwydd, ac nac anghofia ei holl ddoniau ef;" ond cofia "ddiolch yn wastad i Dduw a'r Tad, am bob peth, yn enw ein Harglwydd Iesu Grist." (Salm ciii. 2; Eph. v. 20.) Yr agwedd harddaf ar ddyn yw pan y byddo yn y llwch, wrth draed yr Arglwydd, yn diolch iddo. Nid yw byth mor debyg i angel â phan y mae yn molianu, ac yn diolch.

Y mae yr Iesu yn edrych, gyda hoffder a hyfrydwch, ar y Samariad yma wrth ei draed, ac yn dweyd wrtho, "*Cyfod, a dos ymaith: dy ffydd a'th iachâodd,*" nid oddiwrth dy wahanglwyf yn unig; ond oddiwrth dy bechod hefyd. Cafodd y naw eraill eu hiachâu oddiwrth y gwahanglwyf, gystal ag yntau; ond wrth ddychwelyd i ddïolch am yr iachâd corfforol, fe gafodd hwn iechydwriaeth ysbrydol i'w enaid yn y fargen. Gwnaeth ei ffydd ef yn blentyn i Dduw, ac yn etifedd bywyd tragywyddol.

# XXVI.

## Y DYN DALL O'I ENEDIGAETH.

"*Un peth a wn i, lle yr oeddwn i yn ddall, yr wyf fi yn awr yn gweled.*"—IOAN ix. 25.

YR ydym yn darllen am y proffwydi a'r apostolion, yn gwneud llawer o wyrthiau mawrion a rhyfedd; ond y mae yn ffaith dra hynod, nad oes genym hanes am yr un proffwyd nac apostol erioed yn rhoddi golwg i'r dall. Ond yr oedd yr Yspryd Glân wedi rhagfynegi am y Messiah, yn mhroffwydoliaethau yr Hen Destament, y byddai iddo ef, pan y gwnai ei ymddangosiad, agoryd llygaid y deillion (Esaiah xxix. 18; xxxv. 5; xlii. 7, &c.); a mynych yr ydym yn darllen yn yr Efengylau am dano yn gwneuthur hyny. Yr ydym eisoes wedi cael achlysur i sylwi ar rai gwyrthiau o'r natur yma, ac y mae y bennod hon, sef y nawfed o Ioan, yn cynwys hanes dyddorol iawn am un arall o honynt.

"*Ac wrth fyned heibio, efe a ganfu ddyn dall o'i enedigaeth.*" Yn y bennod o'r blaen, yr ydym yn cael yr Iesu yn y deml yn ymresymu â'r Iuddewon; a chan y tybient ei fod yn euog o gabledd, wrth hòni ei fod yn ogyfuwch â Duw, y maent yn codi cerrig i'w taflu ato, gyda'r amcan o'i labyddio â meini. "A'r Iesu a ymguddiodd, ac a aeth allan o'r deml, gan fyned trwy eu canol hwynt: ac felly yr aeth efe heibio." Er nas gellir bod yn hollol sicr, eto, y peth mwyaf tebygol ar y cyfan yw, mai wrth fyned heibio y pryd hwn y rhoddodd efe ei olwg i'r dall yma. Os felly, meddyliwch y fath engraifft brydferth sydd yma o dawelwch digyffro yr Arglwydd Iesu, yn ei waith yn sefyll i gymeryd sylw o gardotyn dall, ac i roddi ei olwg iddo, pan yn ffoi am ei einioes rhag cynddaredd ei elynion. Nid wedi colli

ei olwg, trwy ryw gystudd neu ddamwain, ond wedi ei eni yn ddall, yr oedd hwn. Nid ydoedd erioed, gan hyny, wedi gweled gwyneb hoff ei fam, yr hon yn ddiau a wylodd lawer deigryn wrth fagu ei baban dall. Yr oedd y cauadau *(shutters)* heb erioed eu tynu oddiar y ffenestri, trwy ba rai yr edrycha yr enaid ar olygfeydd prydferth a mawreddog y greadigaeth o'i amgylch; ac felly yr oedd ei enaid wedi treulio ei fywyd, hyd yn awr, yn garcharor mewn daeardy tywyll a phruddaidd. Eisteddai o ddydd i ddydd, dan bel-ydrau llosgedig haul yr hâf, a than ystormydd oerion y gauaf, yn ochr yr heol gerllaw un o byrth y deml, (Act. iii. 2), i ddeisyf elusen gan yr addolwyr. Yr oedd llawer yn myned heibio iddo bob dydd, heb wneud sylw yn y byd o hono, ond y mae yr Iesu yn sefyll, ac yn edrych arno, gyda llygad o dosturi. "*A'i ddysgyblion a ofynasant iddo, gan ddywedyd, Rabbi, pwy a bechodd, ai hwn, ai ei rïeni, fel y genid ef yn ddall?*" Un o'r cyfeiliornadau sydd yn ffynu yn y byd yn mhob oes a gwlad, ydyw meddwl fod rhyw anffodion a chystuddiau mwy na chyffredin, bob amser yn gosp am ryw bechodau neillduol. Gwrthbrofi y cyfeiliornad peryglus hwn yw prif amcan llyfr Job. Y mae y cwestiwn yn dangos fod y dysgyblion yn coleddu y syniad hwn. Meddylient y rhaid fod dallineb y dyn yma yn farn am ryw bechod, y buasai efe ei hun, neu ei rïeni, yn euog o hono. Maent yn gofyn ai rhyw bechod o'i eiddo ei hun oedd yr achos o'i ddallineb. Tybia rhai eu bod yn golygu y gallasai y dyn fod wedi ei eni yn ddall, ar gyfrif rhyw bechod yr oedd Duw yn rhagweled y byddai iddo ei gyflawni. Ond barna eraill, eu bod yn cyfeirio at athrawiaeth yr athronydd cenhedlig Pythagoras, yr hon oedd yn cael ei chofleidio, fel y tybir, gan rai o'r Iuddewon, sef "fod enaid dyn ar ol marw yn myned i gorff arall, ac yn cael ei osod mewn sefyllfa fanteisiol, neu anfanteisiol, yn ol fel y byddai wedi ymddwyn yn y corff y buasai yn preswylio ynddo o'r blaen." Er nad oedd y dysgyblion yn ddynion dysgedig, y mae yn eithaf posibl eu bod wedi clywed son

am yr athrawiaeth hon, a'u bod yn ewyllysio gwybod beth a ddywedai eu Hathraw am dani. Ond y mae yn fwy tebygol, mai mewn penbleth a dyryswch yr oeddynt, oherwydd eu bod yn methu deall sut y gallasai y dallineb hwn fod yn gosp am unrhyw bechod o'i eiddo ef ei hun, gan ei fod wedi ei *eni* yn ddall; ac am hyny, meddylient y gallai mai pechod ei rïeni oedd yr achos o'i ddallineb; canys gwyddent fod yr Arglwydd yn fynych "yn ymweled âg anwiredd y tadau ar y plant." "*Yr Iesu a atebodd, Nid hwn a bechodd, na'i rïeni chwaith.*" Nid yw geiriau y Gwaredwr yn arwyddo nad oedd y dyn a'i rïeni wedi pechu; ac nid ydym i feddwl ychwaith, oddiwrth ei atebiad, nad oes cysylltiad rhwng pechod a chystudd. Y mae pob dyoddefaint a thrueni, sydd yn mhlith dynion, i'w ystyried fel ffrwyth ac effaith pechod. Ond meddwl yr Iesu oedd, mai nid cosp am unrhyw bechod *neillduol* o eiddo y dyn, na'i rïeni, oedd ei ddallineb. Nid ydym i dybied mai y dyoddefwyr mwyaf yw y pechaduriaid mwyaf bob amser. (Luc xiii. 1–5.) "*Eithr fel yr amlygid gweithredoedd Duw ynddo ef.*" Yr oedd hwn wedi ei anfon i'r byd yn ddall, fel yr amlygid penarglwyddiaeth Duw yn ei ddallineb; a'i allu a'i drugaredd yn y wyrth, o roddi ei olwg iddo (Ioan xi. 4); ac fel yr amlygid gwaith gras Duw yn iechydwriaeth dragywyddol y dyn.

Wedi esbonio yr achos o'i ddallineb, y mae yr Iesu yn ymbarotoi i roddi ei olwg iddo, ac yn crybwyll ei reswm dros wneuthur hyny: "*Rhaid i mi weithio gwaith yr hwn a'm hanfonodd, tra yr ydyw hi yn ddydd: y mae y nos yn dyfod, pan na ddichon neb weithio.*" Er ei fod yn gwybod y byddai i'r wyrth gynhyrfu llid a malais ei erlidwyr yn adnewyddol, eto yr oedd yn *rhaid* iddo ef gyflawni pob rhan o'r gwaith a roddasid iddo i'w wneuthur. Yr oedd ganddo y fath gariad anorchfygol at y gwaith, fel yr oedd yn anhraethol well ganddo beryglu ei fywyd, na'i esgeuluso; ac yr oedd ei dymhor i weithio, yn ei Berson ei hun, ar y ddaear, sef dydd ei fywyd, i derfynu yn fuan; canys yr oedd nos angeu yn agoshâu. Yr oedd ei holl weithredoedd

ef, yn nghyd a'r amser a'r lle i'w cyflawni, wedi eu rhagordeinio; ac felly yr oedd yn teimlo ei hun dan fath o angenrheidrwydd i wneuthur y wyrth hon, y pryd hwn. Y mae yn cyfiawnhâu y weithred yn mhellach, trwy hysbysu mai goleuo y byd oedd ei waith. "*Tra yr ydwyf yn y byd, goleuni y byd ydwyf.*" Cyn adgyfodi Lazarus, y mae yn dweyd am dano ei hun, "Myfi yw yr Adgyfodiad, a'r Bywyd" (Ioan xi. 25); ac yma, cyn rhoddi ei olwg i'r dall, y mae yn gosod ei hun allan fel Goleuni y byd. Fel pe dywedasai, "Gan fy mod wedi dyfod i'r byd i gyfranu goleuni, ac i symud dallineb ysprydol, beth a all fod yn fwy priodol, i ddangos fy nghymeriad a'm gwaith, na rhoddi eu golwg i ddeillion naturiol?"

Yr ydym yn cael hanes am dano yn agoryd llygaid rhai, mewn atebiad i'w gweddi hwy eu hunain (Math. ix. 27; Marc x. 47); ac yn rhoddi ei olwg i un arall ar ddeisyfiad cyfeillion y dall (Marc viii. 22); ond y mae yn agoryd llygaid hwn o'i hunan-gynhyrfiol gariad a'i dosturi, heb i'r dall ei hunan ofyn iddo am ei olwg, nac i neb arall ddweyd gair drosto. Mae yn deilwng o'n sylw, fod yr holl wyrthiau a wnaed ganddo ar y Sabbath wedi eu cyflawni yr un modd. Fe allai fod y bobl druain yn ofni nad oedd yn gyfreithlawn iddynt geisio iachâd ar y dydd hwnw. Modd bynag am hyn, gallwn sylwi fod rhai eto yn cael iechydwriaeth enaid pan na byddont yn dysgwyl, nac yn ceisio. Mae genym hanes am rai wedi cael eu hargyhoeddi pan oeddynt wedi dyfod i foddion gras gyda'r bwriad o aflonyddu, ac erlid yr addolwyr: "Cafwyd fi gan y rhai nid oeddynt yn fy ngheisio," &c. (Rhuf. x. 20.)

Fe welodd y Gwaredwr yn dda ddefnyddio moddion tra hynod i roddi ei olwg i'r dall yma: "*Wedi iddo ef ddywedyd hyn, efe a boerodd ar lawr, ac a wnaeth glai o'r poeryn, ac a irodd y clai ar lygaid y dall.*" Ymddengys ei fod yn arfer cyflawni rhyw weithred arwyddocâol yn gyffredin wrth agoryd llygaid y deillion (Math. ix. 29; xx. 34; Marc viii. 23.) Gall fod rhyw gymaint o rinwedd iachâol mewn poeryn, a'i

fod yn dda tuag at liniaru enyniad *(inflamation)* yn y llygaid, &c. Ond y mae yn berffaith amlwg i bawb, na allasai clai a phoeryn, o hono ei hun, byth agoryd llygaid un a anesid yn ddall. Buasai yn llawer tebycach o dynu llygaid un oedd yn gweled. Gallu dwyfol Crist yn unig a wnaeth foddion mor ddistadl ac annhebyg yn effeithiol i ateb y dyben. Nid yn y moddion, gan hyny, yr oedd y rhinwedd; ond yn yr Hwn oedd yn ei ddefnyddio. Gallasai efe agoryd llygaid hwn heb ddefnyddio unrhyw foddion, pe buasai yn dewis, yr un modd ag y gwnaeth â Bartimeus (Marc x. 52.) Y mae yn sicr fod y dyn yma wedi clywed son am yr Iesu yn rhoddi eu golwg i eraill, onide ni buasai yn gadael iddo osod y clai ar ei lygaid; ac y mae yn bosibl mai meithrin a chryfhâu ffydd y dyn, trwy ryw arwydd allanol, fel hyn, oedd prif ddyben yr Iesu wrth ddefnyddio y clai a'r poeryn. Modd bynag, y mae hyn yn dysgu i ni y llwydda y moddion mwyaf distadl pan y byddo efe yn ei fendithio. Gochelwn, gan hyny, rhag diystyru unrhyw ordinhâd o'i eiddo. Y mae llawer yn barod i wawdio pregethu yr efengyl, fel moddion i ddiwygio y byd. Gwawdiant hwy: ond "fe welodd Duw yn dda trwy ffolineb pregethu gadw y rhai sydd yn credu." (1 Cor. i. 21.)

Wedi gosod y clai ar lygaid y dall y mae Crist yn dweyd wrtho, *"Dos, ac ymolch yn llyn Siloam (yr hwn a gyfieithir, Anfonedig.")* Ymddengys fod i'r gorchymyn hwn amcan deublyg o leiaf: (1.) Profi ufudd-dod y dyn. Nid ydyw hwn yn diystyru y moddion am ei fod yn ymddangos yn annhebyg o ateb y dyben, fel y gwnaeth Naaman (2 Bren. v. 11, 12.); ond efe a aeth yn y fan, heb wrthddadleu dim, gan ymddiried yn ngallu Crist. Ein dyledswydd ninau yw dilyn ei esiampl yn hyn: "Beth bynag a ddywedo efe wrthych, gwnewch." (Ioan ii. 5.) (2.) Gwneuthur y wyrth yn fwy adnabyddus. Yr oedd gweled y cardotyn dall yn myned trwy yr heolydd, â chlai ar ei lygaid, yn olygfa mor anghyffredin, fel y byddai yn sicr o dynu sylw, a pheri llawer o ymholi yn nghylch y peth; ac yr oedd Crist am

i'r wyrth gael ei gwneud yn gyhoeddus, am ei fod yn ewyllysio i drigolion Jerusalem gael y profion cryfaf o'i ddwyfol anfoniad.

Ystyr yr enw Siloam yw Anfonedig, ac ymddengys fod y llyn yn cael ei alw felly am ei fod yn gysgod o Grist, anfonedig y Tad. (Esaiah. viii. 6.) Efe yw y ffynon a agorwyd i bechod, ac i aflendid (Zech. xiii. 1.); ac ynddo ef yn unig y mae modd i ninau gael iachâd oddiwrth ein dallineb ysprydol.

Y canlyniad dedwydd o ufudd-dod y dyn yma oedd, iddo ddyfod yn ol, o lyn Siloam, yn gweled. Pwy a all ddesgrifio ei syndod a'i lawenydd, pan yr agorodd ei lygaid gyntaf, yn nghanol y rhyfeddodau oeddynt o'i amgylch? Fel y synai wrth edrych ar yr haul uwchben; ar ei gyd-ddynion o'i amgylch; ar balasau ardderchog y ddinas; ac yn enwedig ar y deml ysblenydd gerllaw! Dyma ddarlun o'r cyfnewidiad dedwydd a wneir ar bechadur yn yr adenedigaeth: "Yr wyf fi yn dy anfon at y Cenhedloedd," meddai yr Arglwydd wrth Paul, "i agoryd eu llygaid, ac i'w troi o dywyllwch i oleuni," &c. (Act. xxvi. 18.) Yr oedd yma hefyd, fel y sylwa yr esgob Hall, ryw ddangosiad o deimladau y Cristion, pan syrth cèn marwoldeb oddiar ei olygon yn angeu, ac yr egyr ei lygaid yn nghanol golygfeydd gogoneddus y ddinas nefol, a phan y cenfydd o'i amgylch fyrddiynau o angelion dysglaer, a saint perffeithiedig, ac uwchlaw y cwbl, pan y gwêl Iesu fel y mae.

Wedi i'r dyn ddychwelyd adref yn gweled, y mae ei gymmydogion, ac eraill, yn gofyn i'w gilydd mewn syndod, "*Onid hwn yw yr un oedd yn eistedd ac yn cardota? Rhai a ddywedasant, Hwn yw efe: ac eraill, Y mae efe yn debyg iddo. Yntau a ddywedodd, Myfi yw efe.*" Yr oedd cael ei olwg wedi cyfnewid llawer ar wynebpryd y dyn; canys y mae y llygad yn y pen, fel y lloer yn y ffurfafen, yn rhoddi gwedd newydd i'r holl wyneb. Yr oedd agoryd llygaid un a anesid yn ddall yn beth mor rhyfedd, ac annysgwyliadwy hefyd, fel yr oedd y bobl bron yn methu credu mai yr un dyn yd-

oedd. Clywai y dyn hwynt yn dadleu yn ei gylch, ac y mae yn dweyd mai efe oedd yr hwn yr oeddynt wedi arfer ei weled yn gardotyn dall. Yna y maent yn dechreu holi mewn syndod pa fodd yr agorasid ei lygaid; ac wedi iddo adrodd yr hanes iddynt, y maent yn gofyn iddo yn mhellach pa le yr oedd yr Iesu? Yr oeddynt yn dymuno gweled un oedd yn medru cyflawni gweithredoedd mor rhyfedd. Ond nis gwyddai y dyn pa le yr oedd ei gymwynaswr trugarog. Yna y maent yn dwyn y dyn at y Phariseaid, a hyny, debygid, nid oddiar unrhyw ddrwg-deimlad tuag ato ef, na thuag at yr Iesu; ond am na wyddent yn iawn beth i feddwl o'r mater. Yr oedd yn ymddangos fod gwyrth wedi cael ei gwneuthur, ac yr oedd hyny yn eu tueddu i feddwl fod yr Iesu yn broffwyd, wedi dyfod oddiwrth Dduw. Ond o'r tu arall drachefn, yr oedd y weithred wedi ei chyflawni ar y Sabbath, ac yr oeddynt mewn amheuaeth pa un a oedd hyny yn gyfreithlawn, ac oherwydd eu bod, fel hyn, mewn petrusder, y maent yn myned â'r mater i gael ei benderfynu, gan eu dysgawdwyr a'u llywodraethwyr. Pan osodwyd y dyn o flaen y cynghor, dechreuodd y Phariseaid drachefn ei holi pa fodd y cawsai ei olwg, gan ddysgwyl a gobeithio y caent allan fod rhyw dwyll yn y peth. Ond y mae y dyn yn adrodd yr hanes yn onest; ac yn dal i dystio yr un peth ag a ddywedasai o'r blaen wrth y bobl. "*Yna rhai o'r Phariseaid a ddywedasant, Nid yw y dyn hwn o Dduw, gan nad yw efe yn cadw y Sabbath.*" Fel pe dywedasent, "A chaniatau fod yr hyn a ddywedir gan y dyn yma am dano ei hun yn wirionedd, y mae yn sicr nad yw yr hwn a agorodd ei lygaid yn broffwyd sanctaidd, ac yn ddysgawdwr wedi dyfod oddiwrth Dduw, gan nad yw efe yn cadw y Sabbath." Y mae yn wir nas gall yr hwn fyddo yn euog o halogi y Sabbath fod o Dduw; ond eu camesboniad hwy ar gyfraith y Sabbath, a'u gelyniaeth yn erbyn Crist, a barai iddynt ei gyhuddo o halogi y dydd sanctaidd wrth wneuthur gweithredoedd o drugaredd arno. Ond yr oedd yno rai o aelodau y cynghor, megys Joseph o Arima-

thea, a Nicodemus, yn lletya meddyliau parchus am Grist; ac er nad oeddynt wedi dyfod, hyd yn hyn, yn ddigon gwrol i wneud arddeliad cyhoeddus o'u ffydd ynddo, eto, y maent yn anturio gofyn, "*Pa fodd y gall dyn pechadurus wneuthur y cyfryw arwyddion?* Awgryment eu bod yn methu deall, pa fodd y gallasai neb wneuthur y fath weithredoedd, oni buasai fod Duw gydag ef; ac felly fod lle i feddwl nad oedd cyflawni gwyrthiau fel hyn ar y Sabbath, yn bechod. "Ac yr oedd ymrafael yn eu plith."

Yr oeddynt wedi gofyn eisoes i'r dyn pa fodd y cawsai ei olwg, ond y maent yn gofyn iddo drachefn, pa beth oedd ei feddwl ef ei hun am yr hwn a agorasai ei lygaid? Gobeithient, yn ddiau, y gallent wasgu y dyn druan i ddweyd rhywbeth yn ddiystyrllyd am yr Iesu; ac i addef y gallai ei fod wedi cyflawni y wyrth trwy gyngrair â'r diafol. Ond yn hyn fe siomwyd eu dysgwyliadau maleisus; canys y mae y dyn yn cael nerth i gyffesu yn wrol a diofn, o flaen y llys, na allai efe ddim llai na meddwl fod yr hwn oedd wedi agor ei lygaid ef yn broffwyd sanctaidd i'r Arglwydd. Nid ydoedd eto wedi dychymygu ei fod yn fwy na phroffwyd, ac mai efe oedd y Messiah; ond y mae yn ddigon ffyddlawn i gyffesu yn hollol ddifloesgni yr hyn oedd efe yn ei gredu am dano, er ei fod yn gwybod yn dda y byddai iddo dynu gwg ac erledigaeth yr awdurdodau arno ei hun trwy hyny.

Wedi methu yn eu hamcan wrth holi y dyn, mynai y Phariseaid fod rhyw gynghrair rhyngddo a'r Iesu, ac nad ydoedd wedi ei eni yn ddall, a chael ei olwg yn y modd y dywedai; ond mai celwydd i gyd oedd ei stori; ac am hyny, y maent yn ei droi ef allan o'r ystafell, ac yn galw ei rïeni o flaen y cynghor, i gael eu holi, dan obeithio y gallent gael rhywbeth oddiwrthynt hwy, a roddai ryw rith o sail iddynt i wadu gwirionedd y wyrth. Ymddengys fod tad a mam y dyn yn dra amddifad o'r gwroldeb moesol oedd yn nodweddu eu mab. Nid oeddynt yn barod i ddyoddef dros y gwirionedd; ac felly er cymaint o rwymau oedd arnynt i

fod yn ddiolchgar i'r Iesu, am wneuthur y fath gymwynas i'w mab, nid oeddynt yn foddlawn i wneud arddeliad o hono yn ngwyneb perygl, ac i ddyoddef erledigaeth er ei fwyn. Rhoddwyd tri chwestiwn iddynt: 1. "*Ai hwn yw eich mab chwi?*" 2. "*Ai yn ddall y ganed ef?*" 3. "*Os felly, pa fodd y mae efe yn gweled yn awr?*" Y maent yn ateb y ddau gyntaf yn gadarnhäol; ond am yr olaf, y maent yn cymeryd arnynt eu bod yn analluog i'w ateb, am nad oeddynt hwy yn dygwydd bod yn bresenol, yn y fan a'r lle, pan y cafodd eu mab ei olwg. Y mae yn ddiau eu bod wedi clywed ganddo ef, pa fodd yr agorasid ei lygaid; ond yr oedd arnynt ofn dweyd dim a dueddai i anrhydeddu yr Iesu; oblegyd fod yr Iuddewon wedi cyd-ordeinio eisoes, os cyfaddefai neb ef yn Grist, y bwrid ef allan o'r synagog, neu yr esgymunid ef. Ymddengys fod dau fath o esgymundod yn mhlith yr Iuddewon. Trwy y cyntaf, a'r ysgafnaf, yr oedd y dyn a ddiarddelid yn cael ei gau allan o'r synagog am ddeng niwrnod ar hugain, ac yr oedd yn rhaid iddo, dros yr yspaid hwnw, fel dyn aflan mewn ystyr seremonïol, sefyll bedwar cufydd, hyd yn nod oddiwrth bawb o'i deulu. Yr oedd yr ail fath yn llawer trymach, a mwy dychrynllyd; canys trwy hwn yr oedd dyn yn cael ei gau allan yn hollol, ac am byth, o'r synagog, a chyhoeddid amryw felldithion arno wrth ei ddiarddel yn gyhoeddus, yn niwedd yr addoliad; difeddienid ef o'i olud; collai ei hawl i bob swydd a rhagorfraint wladol yn gystal a chrefyddol; ac ysgerid ef mor llwyr oddiwrth bob cyfathrach â'i gydwladwyr, fel na chaniateid iddynt werthu unrhyw beth iddo, hyd yn nod angenrheidiau bywyd. Fel hyn yr oedd bwrw allan o'r synagog, yn yr ystyr olaf a ddarluniwyd, yn beth mor ddychrynllyd, fel nad oedd unrhyw gosp a arswydid yn fwy, oddieithr marwolaeth ei hun.

Methodd y Phariseaid a chyrhaedd eu hamcan, wrth holi y rhïeni; ac am hyny, y maent yn galw y dyn i mewn drachefn i'r llys, ac yn ymdrechu argraffu ar ei feddwl, eu bod hwy wedi cael allan mai twyll i gyd oedd ei adroddiad

yn nghylch y wyrth; ac felly nad oedd o un dyben iddo geisio celu y gwirionedd oddiwrthynt yn hwy: "*Dyro y gogoniant i Dduw,*" meddynt, "*nyni a wyddom mai pechadur yw y dyn hwn.*" Nid ei anog i roddi y clod i Dduw, yn lle i'r Iesu, am y wyrth yr oeddynt; canys ni chaniatâent fod gwyrth wedi ei chyflawni: ond gosod y dyn ar ei lŵ yr oeddynt, a'i dynghedu i ddweyd y gwir (Jos. vii. 19), ac i gyfaddef pa le yr oedd y twyll, a thrwy hyny i gydnabod Hollwybodaeth Duw, a'i gasineb at gelwydd. Haerent nad oedd yn bosibl fod Crist yn meddu gallu gwyrthiol, gan eu bod hwy yn gwybod yn berffaith sicr mai pechadur ysgeler ydoedd, oherwydd ei fod yn euog o halogi y Sabbath. Y mae y dyn yn ateb, gan ddywedyd, "*Ai pechadur yw, nis gwn i: un peth a wn i, lle yr oeddwn i yn ddall, yr wyf fi yn awr yn gweled.*" Nid ydym i feddwl fod y dyn yn barod i ganiatâu, y gallai mai pechadur oedd yr Iesu; ond y mae yn awgrymu nad oedd efe am gymeryd arno benderfynu y pwnc hwnw; ond ei fod yn hollol sicr o un peth, sef fod yr Iesu wedi gwneud cyfnewidiad rhyfedd a dedwydd arno ef, beth bynag a ddywedent hwy am dano. Gwyn fyd y dyn a all apelio, fel hyn, at ei brofiad ei hun o ddylanwad achubol yr efengyl ar ei feddwl, yn ngwyneb gwrth-ddadleuon a checraeth anffyddwyr. "Yr hwn sydd yn credu yn Mab Duw sydd ganddo y dystiolaeth ynddo ei hun." (1 Ioan v. 10.) Mynwn brofion o ddwyfoldeb y Beibl, nid mewn llyfrau ar y silff, yn unig, ond yn deimlad byw yn ein calonau; ac yna, er y gall anffyddwyr ein gwawdio, a cheisio ein dyrysu, ni bydd mwy o berygl iddynt ddinystrio ein ffydd, nag sydd o berygl i ystormydd y byd naturiol ddiffodd y sêr.

Mae y Phariseaid yn gweled nad ydynt yn enill dim yn y ffordd yma, am hyny y maent yn gofyn i'r dyn drachefn, "*Beth a wnaeth efe i ti? pa fodd yr agorodd efe dy lygaid di?*" Yr oeddynt am iddo fyned dros yr hanes eilwaith, oherwydd eu bod yn gobeithio y gallent ddarganfod rhyw wendid, neu anghysondeb, yn ei dystiolaeth. Ond yr oedd y

dyn wedi llwyr ddiflasu arnynt, ac yn gweled eu rhagfarn a'u cyndynrwydd; am hyny, efe a atebodd iddynt, "*Mi a ddywedais i chwi eisoes, ac ni wrandawsoch: paham yr ydych yn ewyllysio clywed drachefn? a ydych chwithau yn ewyllysio bod yn ddysgyblion iddo ef?*" Y mae gwaith y dyn yn son am iddynt fod yn ddysgyblion i'r Iesu yn eu gyru i nwydau drwg: "*Hwythau a'i difenwasant ef, ac a ddywedasant, Tydi sydd ddysgybl iddo ef; eithr dysgyblion Moses ydym ni. Nyni a wyddom lefaru o Dduw wrth Moses: eithr hwn, nis gwyddom ni o ba le y mae,*" neu gan bwy y derbyniodd ei awdurdod; "ond nid oes un prawf, modd bynag, ei fod wedi dyfod oddiwrth Dduw."

Y mae y dyn yn ymhyfâu yn ei amddiffyniad i'w gymwynaswr caredig, ac yn ateb, nid yn unig, yn dra synwyrlawn, ond hefyd yn hytrach yn wawdlym, gan ddywedyd, "*Yn hyn yn ddiau y mae yn rhyfedd, na wyddoch chwi o ba le y mae efe, ac efe a agorodd fy llygaid i,*" *&c.* Dadleua **1.** Fod gwyrth wedi ei chyflawni. "*Ni chlybuwyd erioed agoryd o neb lygaid un a anesid yn ddall.*" Os oedd ambell un a gollasai ei olwg, wedi ei gael yn ol eilwaith, trwy foddion naturiol, nid oedd hanes i unrhyw feddyg, na phroffwyd erioed, o ddechreuad y byd hyd y dydd hwnw, agoryd llygaid un a anesid yn ddall, ac a barhausai felly nes ydoedd wedi dyfod i oedran gŵr. Yr oedd yn amlwg, gan hyny, fod y weithred yn wyrth. 2. Fod hyn yn brawf eglur o ddwyfol anfoniad yr Iesu, gan fod yn sier na buasai Duw byth yn gwneud gwyrth i gadarnhâu honiadau twyllwr pechadurus: "*Oni bai fod hwn o Dduw ni allai efe wneuthur dim*" o'r gweithredoedd nerthol yma. "Y mae yn rhyfedd, gan hyny, fod dynion dysgedig, fel chwi, yn methu gwybod o ba le y mae yr hwn sydd wedi rhoddi y fath brofion ei fod yn meddu gallu goruwchnaturiol."

Gan na fedrai y Phariseaid faglu y dyn, nac ateb ei ymresymiad, y maent yn ymlenwi o ddigofaint yn ei erbyn, ac yn gollwng y ffrwyn i'w tymherau a'u tafodau i'w ddifrio: "*Hwy a atebasant ac a ddywedasant wrtho, Mewn pechodau y*

*ganwyd ti oll; ac a wyt ti yn ein dysgu ni?"* "Yr wyt ti wedi dyfod i'r byd, yn fwy llygredig a drygionus na dynion eraill, fel y mae y ffaith i ti gael dy eni yn ddall yn profi, ac a wyt ti, adyn anwybodus a phechadurus, yn meiddio bod yn ddigon haerllug a rhyfygus, i fyned i'n dysgu ni, sydd yn llywodraethwyr yr eglwys, ac yn rhagori cymaint ar ddynion eraill o ran ein doethineb a'n sancteiddrwydd." Maent yn awr yn danod ei ddallineb i'r dyn, ac yn awgrymu fod hyny yn arwydd o anfoddlonrwydd Duw, heb gofio pa mor anghyson oedd hyn â'u gwaith yn haeru, ychydig fynydau yn ol, na buasai efe erioed yn ddall. (Adn. 18.) "*A hwy a'i bwriasant ef allan.*" Ymddengys fod hyn yn arwyddo iddynt, nid yn unig ei droi allan mewn dull difoes ac anmharchus o'r ystafell lle yr oeddynt wedi ymgynull, ond hefyd iddynt ei esgymuno. Ond yr oedd yr Arglwydd wedi addaw y byddai iddo ddangos ei ofal am ei bobl mewn amgylchiadau fel hyn, "Gwrandewch air yr Arglwydd, y rhai a grynwch wrth ei air ef; Eich brodyr y rhai a'ch casasant ac a'ch gyrasant ar encil er mwyn fy enw i, a ddywedasant, Gogonedder yr Arglwydd: ETO I'CH LLAWENYDD CHWI Y GWELIR EF, a hwy a waradwyddir." (Esaiah lxvi. 5.) Cawn gyflawniad nodedig o'r broffwydoliaeth hon yn hanes y dyn yma; canys wedi iddo gael ei ddiarddel am ei broffes wrol o'r Iesu, ger bron y llys, y mae yr Iesu yn egluro ei ogoniant dwyfol iddo, ac yn goleuo llygaid ei feddwl, ar ol agoryd llygaid ei gorff: "*Clybu yr Iesu ddarfod iddynt ei fwrw ef allan: a phan ei cafodd, efe a ddywedodd wrtho, A wyt ti yn credu yn Mab Dduw?*" Yr oedd y dyn yn deall fod yr enw Mab Duw yn golygu y Messiah addawedig, ond nid ydoedd yn adnabod neb ag oedd yn meddu hawl i'r titl urddasol hwn; ond ar yr un pryd, yr oedd ganddo gymaint o ymddiried yn nhystiolaeth yr hwn a roddasai ei olwg iddo, fel yr oedd yn barod i dderbyn y neb a nodid ganddo ef fel Mab Duw. Am hyny y mae yn ateb, gan ddywedyd, "*Pwy yw efe, O Arglwydd, fel y credwyf ynddo?*" Yr oedd y dyn yn credu eisoes yn yr

Iesu yn ol y goleuni oedd ganddo; ond nid ydoedd yn deall eto oi fod yn fwy na phroffwyd; ac mai efe oedd Mab Duw; ar yr un pryd, y mae yn bosibl fod y gwirionedd mawr hwn yn dechreu tywynu i mewn i'w feddwl, a'i fod yn rhyw led-dybied y gallai mai yr Iesu ei hunan oedd y Messiah. Modd bynag, mae y Gwaredwr yn hysbysu iddo, fod ei lygaid oeddynt newydd eu hagoryd, yn cael y fraint, y fynyd hono, o edrych ar yr hwn y sonient am dano, sef Mab Duw, a Goleuni y byd: "*A'r Iesu a ddywedodd wrtho, Ti a'i gwelaist ef; a'r hwn sydd yn ymddyddan â thi, hwnw ydyw efe.*" Wedi i'r Iesu amlygu ei hun fel hyn iddo, y mae y dyn yn y fan yn cyffesu ei ffydd ynddo, fel y Messiah, a chyda diolchgarwch a pharch yn syrthio wrth ei draed i'w addoli: "*Yntau a ddywedodd, Yr wyf fi yn credu, O Arglwydd. Ac efe a'i haddolodd ef.*" Y mae yn dra dyddorol edrych ar gynydd ffydd y dyn yma. Yr ydym yn ei gael ar y dechreu yn siarad am Grist fel "dyn a elwir Iesu;" o flaen y llys drachefn y mae yn ei arddel yn "broffwyd;" ac yn ddiweddaf oll, y mae yn ei gyffesu yn Fab Duw.

Y mae ei hanes yn dangos fod yr Arglwydd yn sicr o roddi "gras mwy" i'r rhai a wnant ddefnydd ffyddlawn o'r goleuni sydd ganddynt; canys i bob un y mae ganddo y rhoddir iddo; "ac yna yr adnabyddwn os dilynwn adnabod yr Arglwydd." (Hos. vi. 3.)

## XXVII.

## ADGYFODIAD LAZARUS.

"*Yr Iesu a ddywedodd wrthi, Myfi yw yr adgyfodiad a'r bywyd. . . . . . Ac wedi iddo ddywedyd hyn, efe a lefodd â llef uchel, Lazarus, tyred allan. A'r hwn a fuasai farw a ddaeth allan yn rhwym ei draed a'i ddwylaw mewn amdo: a'i wyneb oedd wedi ei rwymo â napcyn. Yr Iesu a ddywedodd wrthynt, Gollyngwch ef yn rhydd, a gadewch iddo fyned ymaith.*"—IOAN xi. 25, 43, 44.

IOAN yn unig sydd yn adrodd hanes y wyrth fawr a rhyfedd hon—y fwyaf gogoneddus ar rai ystyriaethau o holl wyrthiau yr Arglwydd Iesu. Paham y mae yr Efengylwyr eraill yn myned heibio i amgylchiad mor hynod a phwysig yn mywyd y Gwaredwr, heb son am dano, sydd gwestiwn ag y mae llawer o wahanol atebion wedi eu cynyg iddo gan esbonwyr hen a diweddar. Ond er y gellir dyfalu llawer yn nghylch y rheswm, neu y rhesymau, am ddistawrwydd yr Efengylwyr eraill, y mae y mater yn un nas gellir byth ei benderfynu gyda sicrwydd. Y mae yn deilwng o'n sylw fod amryw wyrthiau eraill, o eiddo ein Harglwydd, yn cael eu cofnodi gan Ioan yn unig, megys troi y dwfr yn win yn y briodas yn Cana (pen. ii. 1—11.); iachâu mab y pendefig o Capernaum, pan mewn pellder oddiwrtho (pen. iv. 47—54.); iachâu y dyn claf wrth lyn Bethesda, yr hwn a fuasai mewn cystudd am y cyfnod maith o ddeunaw mlynedd ar hugain (pen. v. 1—9.); rhoddi ei olwg i'r dyn dall o'i enedigaeth (pen. ix.); a'r helfa ryfeddol o bysgod ar ol yr adgyfodiad. (Pen. xxi. 1—14.) Ymddengys mai cynllun Ioan wrth ysgrifenu ei Efengyl oedd, dethol y gweithredoedd hyny o eiddo yr Iesu oeddynt yn rhoddi yr amlygiadau mwyaf tarawiadol o'i fawredd a'i ogoniant dwyfol; ac y mae yn amlwg fod y wyrth hon yn un o'r gweithredoedd nerthol hyny.

Yr oedd Lazarus yn byw gyda'i ddwy chwaer, Mair a Martha, yn mhentref Bethania, yr hwn oedd yn sefyll mewn pantle hyfryd, ar odre mynydd yr Olewydd, tua milltir a haner neu ddwy filltir i'r dwyrain o Jerusalem. Addurnid y pentref gan goed a gerddi prydferth a ffrwythlawn, ac yr ydoedd yn un o'r lleoedd mwyaf hyfryd a dymunol yn holl wlad Judea. Y mae amryw bethau yn yr hanes yn arwyddo yn amlwg fod Lazarus a'i chwiorydd yn deulu o gryn gyfoeth a dylanwad. Mae yn debyg fod ganddynt ddigon o bethau y byd yma i fyw arnynt yn gysurus heb lafur na phryder. A'r hyn sydd lawer yn bwysicach a gwerthfawrocach na hyn, yr oeddynt yn dra hoff o'u gilydd, ac yn hoff iawn gan yr Iesu. (Adn. 5.) Nis gwyddom pa bryd, na pha fodd, y daeth efe a hwythau gyntaf i gydnabyddiaeth â'u gilydd. Dichon nad oeddynt ar y dechreu yn ei olygu yn fwy na phroffwyd mawr; ond daethant yn fuan i ddeall nad ydoedd yn neb llai na Christ, Mab Duw, yr hwn oedd yn dyfod i'r byd. (Adn. 27.) Ymddengys mai gyda hwynt y byddai efe yn arfer lletya, yn gyffredin, pan y deuai i fynu i Jerusalem, i'r gwyliau arbenig; ac ar achlysuron eraill. (Math. xxi. 17; Marc xi. 11.) Bu yn dda ganddo yn ddïau, lawer min nos, pan yn teimlo yn flin ac yn lluddedig ar ol llafur y dydd, gael ymneillduo o ganol trafferthion a dwndwr y ddinas, ac o gyrhaedd geiriau ceerus a llidiog ei elynion, dros afon Cedron, heibio i ardd Gethsemane, ar hyd llethrau mynydd yr Olewydd, i dŷ ei hoff gyfeillion yn mhentref tawel a llonydd Bethania. Llawer noswaith ddedwydd a dreuliwyd ganddo ef a hwythau, yn nghyfeillach eu gilydd o dan y gronglwyd hono. Fel hyn, fe gafodd y teulu yma y fraint oruchel o gael croesawu a lletya y "dyn a'r Duwdod ynddo 'n trigo;" gwrando ei ymddyddanion nefolaidd; a'i glywed yn gofyn bendith ar y bwyd; ac yn "cadw dyledswydd deuluaidd." Ond yr ydym, yn nechreu y bennod hon, yn gweled cystudd ac angeu yn dyfod i mewn i'r cartref dedwydd yma. Wele Lazarus yn cael ei gymeryd yn glaf, ac yn marw, er dirfawr alar i'w ddwy chwaer anwyl a hoff.

Pwy a all ddesgrifio eu teimladau hiraethlawn, wrth hebrwng eu hunig frawd i feddrod y teulu, yn y fynwent tu allan i'r pentref; ac wrth edrych ar y gadair wag, yn nghongl yr aelwyd, lle yr arferai eistedd, &c. Ond yn y wyrth sydd dan sylw, yr ydym yn gweled yr Arglwydd Iesu yn troi eu tristwch a'u galar yn llawenydd a gorfoledd annhraethadwy, trwy adgyfodi Lazarus o'r bedd. Gadewch i ni gymeryd cipolwg ar—

I. Yr amgylchiadau rhagarweiniol i'r wyrth. Yn mhlith y rhai hyn, y mae y pethau canlynol yn teilyngu ein hystyriaeth :—

1. *Y genadwri a anfonwyd gan y chwiorydd trallodus at yr Iesu.* Yr oedd efe wedi encilio, rhag ei elynion, i Perea, tu hwnt i'r Iorddonen (pen x. 39, 40), o bump i ddeg milltir ar hugain o Bethania, pan gymerwyd Lazarus yn glaf. Dechreuai y clefyd yn fuan wisgo agwedd dra bygythiol, nes llenwi meddyliau y chwiorydd druain â phryder a dychryn. Galwyd yn ddioed am gymhorth y meddygon goreu a allesid gael; ond er holl ymdrech y meddygon, ac ymgeledd tirion y ddwy chwaer ofalus, gwaethygu yr oedd eu brawd, a chynyddu a dwysâu yr oedd eu pryder hwythau. Gwyddent pa le yr oedd yr Iesu, ac yr oeddynt yn eithaf hysbys o'i allu i iachâu pob clefyd, a phob afiechyd yn mhlith y bobl. Gwyddent fod eraill wedi ei brofi "yn gymhorth hawdd ei gael mewn cyfyngder," ac am hyny y maent yn dyfod i'r penderfyniad o anfon rhyw genad ato, gyda phob brys, i ddywedyd fel hyn wrtho, "*Arglwydd, wele, y mae yr hwn sydd hoff genyt ti yn glaf.*" Yr oedd hyn yn fwy gwylaidd na phe buasent yn dweyd, "Arglwydd, wele, y mae yr hwn sydd yn hoff o *honot* ti yn glaf." Cariad yr Iesu at Lazarus, ac nid cariad Lazarus at yr Iesu, yw eu dadl. Dyma gynllun i ninau. Nid unrhyw deilyngdod na haeddiant ynom ein hunain, ond cariad a gras y Gwaredwr, a ddylai fod yn sail ein hyder a'n calondid mewn gweddi. Nid yw cenadwri Mair a Martha yn cynwys unrhyw gais tebyg i'r eiddo eraill mewn amgylchiadau

cyffelyb, megys, "Atolwg, tyred yma cyn marw ein brawd, a gosod dy ddwylaw arno fel yr iachâer ef," neu, "Yn unig dywed y gair, a iach fydd efe. Nid ydynt yn gwneud dim ond crybwyll ei fod yn glaf, ac apelio yn dyner at gariad yr Iesu tuag ato. Yr oedd ganddynt y fath ymddiried yn ei gydymdeimlad, fel y meddylient nad oedd eisieu iddynt wneud dim ond adrodd eu gofid—y deuai yno o hono ei hun, yn ddioed wedi iddynt osod yr achos o'i flaen.

2. *Atebiad yr Iesu i'r genadwri: "A'r Iesu pan glybu, a ddywedodd, Nid yw y clefyd hwn i farwolaeth, ond er gogoniant Duw, fel y gogonedder Mab Duw trwy hyny.*" Nid meddwl y geiriau hyn oedd, na byddai Lazarus farw yn wirioneddol (adn. 14); ond nid ydoedd i aros dan awdurdod marwolaeth hyd yr adgyfodiad cyffredinol; ac nid ydoedd i farw yn y modd yr oedd ei chwiorydd yn ofni, sef marw fel na chaent hwy byth mwyach fwynhâu ei gyfeillach ar y ddaear. Ymddengys mai dyma y cwbl a ddywedodd yr Iesu wrth y genad a anfonasid ato o Bethania. Ni ddywedodd, "Mi a ddeuaf, ac a'i hiachâf ef," neu, "Mi a ddeuaf, ac a'i hadgyfodaf ef." Mae yn ddïau mai y casgliad a dynodd y dyn oddiwrth yr atebiad oedd, na byddai i Lazarus farw; ac felly y mae yn troi tuag adref yn llawen, ac yn prysuro tua Bethania â'r newydd cysurus i'r teulu oedd yn y fath drallod a phryder. Ond er ei ddirfawr syndod a'i siomedigaeth, erbyn iddo gyrhaedd yn lluddedig i gyffiniau y pentref, y mae yn cael y newydd galarus, gan rai o'r cymmydogion, fod Lazarus eisoes wedi marw! Mae yn adrodd atebiad yr Iesu i'r chwiorydd galarus; ac mor ddyrys ac anesboniadwy a raid ei fod iddynt! Ar un llaw dyna efe wedi dweyd, "Nid yw y clefyd hwn i farwolaeth," ac ar y llaw arall dyna gorff eu hanwyl a'u hunig frawd yn gorwedd yn ei amdo! "Pa fodd," meddynt wrth eu gilydd, "y mae cysoni hyn? A ydyw yn bosibl fod yr Iesu wedi ein twyllo? neu ynte ei fod wedi cael ei dwyllo, trwy i'r clefyd derfynu yn angeuol yn groes i'w ddysgwyliadau? Neu, a oes rhyw ystyr gyfriniol, nad ydym ni yn ei deall, i'w eiriau?" Nis

gallent lai, dan yr amgylchiadau, na gofyn rhyw gwestiynau tebyg i hyn. Yr oedd yr Iesu wedi anfon ei atebiad mewn geiriau tywyll ac anhawdd eu deall, o bwrpas i brofi eu ffydd. A mynych y mae yn profi ein ffydd ninau eto mewn dull cyffelyb; canys y mae ei oruchwyliaethau yn aml yn *ymddangos* am dymhor yn anghyson âg addewidion ei air. Ond y mae efe yn sicr o wneud eu cysondeb yn ddigon amlwg yn y diwedd, fel y gwnaeth yn yr amgylchiad hwn.

3. *Oediad yr Iesu i fyned at ei gyfeillion yn eu cyfyngder a'u trallod: "A hoff oedd gan yr Iesu Martha, a'i chwaer, a Lazarus. Pan glybu efe gan hyny ei fod ef yn glaf, efe a arhosodd yn y lle yr oedd ddau ddiwrnod."* Mae yr Efengylwr yn cyfeirio at hoffder yr Iesu o'r teulu dedwydd hwn i ddangos mai nid o ddiffyg cariad, ond yn hytrach oddiar gariad atynt, yr oedodd efe ymweled â hwynt. "Pan glybu efe *gan hyny*," sef gan ei fod mor hoff o honynt, "fod Lazarus yn glaf, efe a arhosodd yn y lle yr oedd ddau ddiwrnod." Buasem ni yn dysgwyl iddo ymddwyn yn hollol yn y gwrthwyneb i hyn: buasem yn dysgwyl i'w gariad beri iddo wneuthur pob brys i fyned atynt yn eu profedigaeth. Felly y mae cariad dynol yn arfer gwneud mewn amgylchiadau o'r fath; canys pan y byddwn ni yn clywed fod rhyw gyfaill hoff i ni yn glaf, ac yn agos i angeu, yr ydym yn brysio i edrych am dano, os bydd modd. "Ond nid fy meddyliau i yw eich meddyliau chwi, ac nid eich ffyrdd chwi yw fy ffyrdd i, medd yr Arglwydd." (Esaiah lv. 8.) Ein gwendid a'n hanallu ni yw un achos o'r brys a wneir genym i ymweled â'n cyfeillion yn eu cystuddiau. Yr ydym yn teimlo na ddylem oedi am fod perygl iddynt fyned yn rhy bell i ni allu gweinyddu unrhyw gynnorthwy na chysur iddynt. Gwyddom yn dda, os caiff angeu y blaen arnom, y bydd hi yn rhy ddiweddar; ac mai ofer i ni fyned i ymweled â'r marw. Y mae y meddyg medrusaf yn gorfod dweyd yn aml. "Pe buasech wedi fy ngalw yma yn gynt gallaswn wneud rhywbeth i'r claf; ond y mae yr afiechyd wedi myned bellach yn anfeddyginiaethol."

Eithr am Grist, y mae ei allu a'i adnoddau ef yn ddiderfyn, ac yr oedd efe yn teimlo, gan hyny, y gallai fforddio aros yn y fan lle yr ydoedd ddau ddiwrnod, nad oedd dim perygl iddo fod yn rhy ddiweddar, ac i'w gyfaill Lazarus fyned i gyflwr y byddai ei waredu o hono yn beth tu hwnt i'w allu ef. Ond yr oedd ei oediad yn brofedigaeth lèm i'r chwiorydd, ac yn *ymddangos*, ar y pryd, yn anghyson â'i gariad atynt. Synent paham yr oedd efe yn ymddwyn fel hyn; ac yr oeddynt yn barod i ddweyd gyda'r eglwys, "Yr Arglwydd a'n gwrthododd, a'n Harglwydd a'n hanghofiodd." (Esaiah xlix. 14.) Ond cariad yn gweithredu yn wastad dan gyfarwyddyd anfeidrol ddoethineb yw ei gariad ef. Felly yn yr amgylchiad hwn. Yr oedd efe yn oedi, am ei fod yn gwybod y byddai profi ffydd y ddwy chwaer, yn y modd hyn, yn lles iddynt, ac am ei fod yn bwriadu "gwneud yn dra rhagorol, tu hwnt i bob peth yr oeddynt hwy yn eu dymuno, neu yn eu meddwl." Mae yn peidio myned i Bethania i godi Lazarus o wely cystudd, er mwyn myned yno, yn mhen ychydig ddyddiau, i wneud peth llawer mwy, sef ei adgyfodi o'r bedd. A'r un modd eto: y mae yn fynych yn peidio rhoddi i'w bobl y fendith y byddant hwy yn ei cheisio, er mwyn rhoddi un arall fwy a gwell iddynt yn ei lle.

4. *Yr ymddyddan rhyngddo â'i ddysgyblion yn nghylch myned yn ol i Judea:* "*Yna wedi hyny efe a ddywedodd wrth y dysgyblion, Awn i Judea drachefn.*" Y mae y dysgyblion yn rhyfeddu, ac yn brawychu, wrth ei glywed yn son am roddi tro eto yn Judea, gan nad oedd ond ychydig amser er pan ffoisai oddiyno am ei einioes: "*Y dysgyblion a ddywedasant wrtho, Rabbi, yr oedd yr Iuddewon yn awr* (h.y. yn ddiweddar) *yn ceisio dy labyddio di* (Ioan x. 31—39.); *ac a wyt ti yn myned yno drachefn?*" Meddylient ei fod yn peryglu ei fywyd ei hun, a'u bywyd hwythau, wrth ddychwelyd i ganol y fath elynion maleisus. "*Yr Iesu a atebodd, Onid oes deuddeg awr o'r dydd? os rhodia neb y dydd ni thramgwydda, am ei fod yn gweled goleuni y byd hwn,* &c."

Yr oedd llawer o ffyrdd Palestina yn dra geirwon a drwg, fel yr oedd yn beryglus i ddynion dripio a thori eu hesgyrn wrth eu teithio yn nhywyllwch y nos; ond gellid eu rhodio liw dydd yn ddigon dyogel. Dyna y gymhariaeth sydd yn y geiriau hyn, a'r gwirionedd y mae yr Arglwydd Iesu yn ei osod allan trwyddi yw—fod ganddo yntau ei ddydd, neu ei amser terfynedig, i gyflawni y gwaith a roddasid iddo gan y Tad (Ioan ix. 4.); ac y byddai iddo gael ei amddiffyn a'i ddyogelu, rhag cael ei ladd gan ei elynion, tra byddai ei ddydd heb ei orphen. Megys na ddichon neb ein hyspeilio o'r un awr o'r dydd, trwy beri i'r haul fachludo cyn ei amser, felly hefyd nis gallesid byrhâu einioes y Gwaredwr, na neb o'i weision ychwaith. Fel y dywedodd Whitefield, pan ymosodwyd yn greulawn arno gan dorf o erlidwyr, "Yr wyf yn anfarwol nes gorphen fy ngwaith."

Wedi tawelu ofnau y dysgyblion, y mae yr Iesu yn hysbysu iddynt beth oedd ei amcan wrth fyned i Judea drachefn: "*Y mae ein cyfaill Lazarus yn huno,*" meddai, "*ond yr wyf fi yn myned i'w ddihuno ef.*" Huno y mae efe yn galw marwolaeth ei gyfaill; ond tybiodd y dysgyblion mai am gwsg naturiol yr oedd efe yn son; ac am hyny, meddylient mai peth hollol afreidiol oedd iddo osod ei fywyd ei hun, a'u bywyd hwythau, mewn enbydrwydd a pherygl, a myned mor bell o ffordd, yn unig er mwyn deffro eu cyfaill o gwsg. Meddylient y gallai chwiorydd Lazarus wneud hyny, os byddent yn gweled rhyw berygl iddo gysgu yn rhy hir. Gwaith hawdd iawn yw deffro un o gwsg naturiol; gall aderyn neu wibedyn wneud hyny, ond yr oedd Lazarus wedi syrthio i afael cwsg rhy drwm i neb ond Mab Duw allu ei ddeffro. "*Yna y dywedodd yr Iesu wrthynt yn eglur, Bu farw Lazarus.*" Nid ydym i feddwl i neb ddyfod â'r newydd iddo, ond yr oedd efe yn gwybod y cwbl oedd yn cymeryd lle yn Bethania, er ei fod yn mhell oddiyno. Gwyddai yr Iesu yn dda beth oedd teimladau y dysgyblion wrth glywed y newydd —eu bod yn barod i resymu na buasai efe yno i waredu Lazarus cyn iddo farw, ac am hyny y mae yn ateb y meddyl-

iau hyn a welai efe yn codi yn eu calonau, trwy ddweyd, "*Ac y mae yn llawen genyf nad oeddwn i yno, er eich mwyn chwi, fel y credoch.*" Pe buasai efe yno, ni buasai yn bosibl i Lazarus farw. "Tywysog y bywyd" oedd efe, ac y mae yn ffaith darawiadol nad oes genym hanes i neb erioed farw yn ei bresenoldeb ef, tra bu yn byw ar ein daear ni. Yr oedd cymaint o fywyd ynddo, fel na fedrai angeu ddyfod yn agos ato, mwy nag y gall tywyllwch y nos ddyfod i wyddfod yr haul haner dydd. Ond yr oedd efe am i Lazarus farw, er mwyn iddo gael achlysur i gryfhâu ffydd y dysgyblion, trwy ei adgyfodi yn eu golwg. Yr oeddynt wedi ei weled yn iachâu llawer o gleifion, ac yn bywhâu rhai meirw; ond nid oeddynt erioed eto wedi ei weled yn adgyfodi neb o'r bedd; ac yr oedd efe am roddi prawf iddynt o'i allu i gyfodi ei hunan o'r bedd, y trydydd dydd, trwy adgyfodi ei gyfaill y pedwerydd dydd. Am hyny, y mae yn dweyd wrthynt, "*Awn ato ef.*" At Mair a Martha, i gydymdeimlo â hwynt, a'u dyddanu, y buasai pawb arall yn myned; canys ofer fuasai i neb arall fyned at y marw; ond nid felly am dano ef. Wrth glywed penderfyniad yr Iesu i fyned at fedd Lazarus, y mae Thomas yn dweyd wrth ei gyd-ddysgyblion, "*Awn ninau hefyd fel y byddom feirw gydag ef.*" Mae y geiriau hyn yn dangos yn amlwg fod gan Thomas lawer mwy o gariad nag o ffydd. Credai y byddai yr Iesu yn sicr o gael ei roddi i farwolaeth os elai i Judea drachefn, ac felly yr oedd yma ddiffyg ffydd yn ei allu i achub ei hun a hwythau; ond yr oedd ganddo ddigon o gariad ato i farw gydag ef, yn hytrach na'i adael. Ond er fod Thomas yn awr yn ymddangos yn barod i farw gyda'r Iesu, eto ei adael a wnaeth efe a'r holl ddysgyblion, pan y daeth hi yn gyfyngder. (Math. xxvi. 56.)

5. *Dyfodiad yr Iesu i Bethania, a'r ymddyddan pwysig a fu rhyngddo â Martha:* "*Yna yr Iesu wedi dyfod, a'i cafodd ef wedi bod weithian bedwar diwrnod yn y bedd.*" Mae yn debyg i Lazarus gael ei gladdu y diwrnod y bu efe farw; canys arfer yr Iuddewon oedd claddu eu meirw mor fuan

ag y medrent. (Act. v. 5—10.) Nid aeth yr Iesu rhag ei flaen i'r tŷ, ond efe a arhosodd o'r tu allan i'r pentref, gerllaw bedd ei gyfaill. Y mae Martha yn clywed am ei ddyfodiad, ac yn prysuro i'w gyfarfod; "*ond Mair a eisteddodd yn y tŷ*," am ei bod hi, mae yn debyg, heb glywed yr hyn a ddywedasid wrth ei chwaer. "*Yna y dywedodd Martha wrth yr Iesu, Arglwydd, pe buasit ti yma, ni buasai farw fy mrawd. Eithr mi a wn hefyd yr awr hon, pa bethau bynag a ddymunech di gan Dduw, y dyry Duw i ti.*" Mae Martha, yn y geiriau hyn, yn dangos fod ganddi feddyliau mawr am Grist, ac ar yr un pryd y mae yn amlygu llawer o wendid ffydd. Yr oedd hi yn meddwl fod ganddo ddigon o allu i rwystro i Lazarus farw, pe buasai yno mewn pryd, ac yr oedd hi yn credu ei fod mor gymeradwy gan Dduw, fel y gwnai efe ganiatâu iddo beth bynag a ddymunai, hyd yn nod pe buasai efe yn gweled yn dda ofyn am i'r marw gael ei godi yn fyw drachefn. Fel hyn yr ydym yn gweled enfys gobaith yn dysgleirio yn brydferth yn y cwmwl tywyll oedd yn duo awyrgylch meddwl Martha. Ond gwendid ynddi oedd tybied fod yn angenrheidiol i'r Iesu fod yno, wrth wely Lazarus, mewn trefn i rwystro iddo farw. Gallasai efe ei iachâu mewn pellder oddiwrtho, pe buasai yn dewis, heb ddim ond yn unig "ddweyd y gair," yn y fan lle yr oedd, yr un modd ag y gwnaeth â gwas y canwriad, a mab y pendefig. (Math. viii. 8; Ioan iv. 50.) Ac yn lle edrych ar Grist fel un â "holl gyflawnder y Duwdod yn preswylio yn gorfforol ynddo," y mae Martha yn ei olygu yn hytrach fel proffwyd enwog, yn cael pethau mawrion gan Dduw mewn atebiad i'w weddi, ac nid yn eu cyflawni trwy ei allu ei hun. "*Yr Iesu a ddywedodd wrthi, Adgyfodir dy frawd drachefn.*" Ond i'r dyben o brofi ei ffydd, y mae yn ymatal rhag dweyd wrthi pa bryd, na chan bwy, yr adgyfodid ef. "*Dywedodd Martha wrtho, Myfi a wn yr adgyfodir ef yn yr adgyfodiad, y dydd diweddaf.*" Yr oedd yn gysur ganddi feddwl yr adgyfodid ei brawd yn y dydd diweddaf; ond yr oedd hyny yn ymddangos fel peth draw yn

mhell, a'r hyn oedd yn peri dirfawr ofid a galar iddi hi oedd meddwl na chai hi byth mwyach fwynhâu cymdeithas ei brawd hoff yn y byd presenol. "*Yr Iesu a ddywedodd wrthi, Myfi yw yr Adgyfodiad a'r Bywyd.*" Fel pe dywedasai, "Nid oes eisieu aros hyd y dydd diweddaf, Martha; canys y mae yr hwn a gyfyd y meirw yn y dydd hwnw, yma heddyw, a gall efe wneud hyny yn awr, gystal â'r pryd hwnw." Mae yn rhoddi ar ddeall iddi y medrai efe gyfodi y meirw pan y mynai, a hyny heb weddio ar y Tad, fel yr oedd hi yn son, oherwydd ei fod ef yn Awdwr a Ffynon bywyd. Nid dweyd y mae efe ei fod yn adgyfodi, ac yn bywhâu y meirw. Gallasai ambell i broffwyd, ac apostol, ddweyd hyny am dano ei hun; ond er i Elias, ac Eliseus, a Phedr gyfodi rhai o feirw, eto, buasai yn gabledd i'r un o honynt hwy ddweyd am dano ei hun, "*Myfi yw* yr Adgyfodiad a'r Bywyd." Ond dyma un, wedi ei "gael mewn dull fel dyn," a'r teitlau goruchel hyn yn gweddu iddo. Wedi egluro gogoniant ei Berson, fel hyn, i Martha, i'r dyben o gryfhâu ei ffydd, a chodi ei gobeithion a'i dysgwyliadau, y mae yn myned rhagddo i ddarlunio breintiau yr hwn sydd yn credu ynddo: "*Yr hwn sydd yn credu ynof fi, er iddo farw, a fydd byw. A phwy bynag sydd yn fyw, ac yn credu ynof fi, ni bydd marw yn dragywydd,*" hyny ydyw, ni chaiff byth brofi marwolaeth yn ystyr briodol y gair (Ioan viii. 51.); canys ni bydd angeu i'r cyfryw yn ddim ond "huno yn yr Iesu." "*A wyt ti yn credu hyn? Dywedodd hithau wrtho, Ydwyf, Arglwydd: yr wyf fi yn credu mai ti yw y Crist, Mab Duw, yr hwn sydd yn dyfod i'r byd.*" Er nad oedd hi yn llawn ddeall ystyr ei geiriau, eto, y mae hi yn cyffesu ei ffydd ynddo fel y Messiah addawedig; ac yn dweyd ei bod hi yn credu pob peth oedd yn gynwysedig yn hyny.

6. *Ocheneidiau a dagrau yr Iesu.* Y mae yn debyg iddo ddweyd wrth Martha am fyned yn ol i'r tŷ, a hysbysu Mair ei fod ef yno, a'i fod yn dymuno iddi ddyfod ato. Felly "*hi a aeth ymaith, ac a alwodd yn ddirgel ei chwaer Mair, gan ddywedyd, Fe ddaeth yr Athraw, ac y mae yn galw am danat.*"

Y mae Mair, ar ol clywed y newydd, yn codi yn ebrwydd, ac yn myned allan ar frys, heb ddweyd gair wrth neb, i gyfarfod yr Iesu. Tybiodd ei chyfeillion oedd gyda hi yn y tŷ, yn ceisio ei chysuro, mai myned i roddi ffordd i'w theimladau, trwy wylo wrth fedd ei brawd yr ydoedd. (Adn. 31.) Ond yn lle myned at fedd brawd marw i dywallt dagrau, myned at draed Gwaredwr byw i adrodd ei gofid yr oedd hi. Pan y byddom newydd golli perthynas hoff, y mae gweled cyfaill anwyl i'r ymadawedig a ninau, yn debyg iawn o ail gyffroi ein hiraeth, a pheri i ni gael ein gorchfygu gan ein teimladau. Felly y bu gyda Mair druan y pryd hwn: "*Yna Mair, pan ddaeth lle yr oedd yr Iesu, a'i weled ef, a syrthiodd wrth ei draed ef, gan ddywedyd wrtho, Arglwydd, pe buasit ti yma, ni buasai fy mrawd farw.*" Yr oedd Martha o'r blaen, fel y gwelsom, wedi dweyd yr un peth (adn. 21.), yr hyn a ddengys fod y ddwy wedi dweyd hyn wrth eu gilydd yn fynych, y dyddiau hyny. "Pe buasai efe yma," meddai y naill wrth y llall, "ni buasai farw ein brawd; ac onid yw yn rhyfedd na ddaethai efe yma, a ninau wedi danfon ato?" Mae pob crybwylliad sydd genym yn yr Efengylau am y ddwy chwaer dduwiol yma, yn dangos yn eglur fod gwahaniaeth mawr rhwng eu tymherau naturiol. Dynes fywiog, weithgar, a gofalus iawn am ei hamgylchiadau teuluaidd oedd Martha; ond un addfwyn, ddistaw, a myfyrgar oedd Mair. Gallesid meddwl braidd mai rhyw angyles, wedi cymeryd benthyg corff, a dyfod am dro i ymweled â'n daear ni ydoedd. Yr oedd graddau helaeth o ysbryd Pedr yn Martha, a llawer o ysbryd Ioan yn Mair. Yr oedd Martha lawer yn fwy galluog i gynal profedigaethau na Mair. Cawn fod ganddi hi ddigon o hunan-feddiant, ac o lywodraeth ar ei theimladau, i fedru ymddyddan â'r Iesu pan gyfarfu âg ef; ac nid oes dim son iddi hi syrthio wrth ei draed. Ond pan ddaeth Mair ato, wele hi yn syrthio wrth ei draed, fel un oedd yn barod i suddo dan ei baich, a'r cwbl a allodd hi druan ddweyd wrtho, gan ei dagrau oedd, "*Arglwydd, pe buasit ti*

*yma, ni buasai fy mrawd farw.*"* Ac y mae yn dra theilwng o'n sylw, i'r Iesu ymddwyn yn wahanol tuag at y ddwy chwaer, yn yr amgylchiad hwn, yn gyfatebol i'r gwahaniaeth oedd yn eu tymherau naturiol. Y mae yn ymddyddan, ac yn ymresymu â Martha; ond yn ocheneidio, ac yn wylo gyda Mair: "*Yr Iesu gan hyny, pan welodd hi yn wylo, a'r Iuddewon y rhai a ddaethai gyda hi yn wylo, a riddfanodd yn yr ysbryd ac a gynhyrfwyd; ac a ddywedodd, Pa le y dodasoch chwi ef? Hwy a ddywedasant wrtho, Arglwydd, tyred a gwel. Yr Iesu a wylodd.*" Mae yr esbonwyr goreu yn cytuno fod yr ymadrodd, "*a riddfanodd yn yr ysbryd, ac a gynhyrfwyd,*" yn arwyddo iddo deimlo anfoddlonrwydd a digter sanctaidd. Ond y cwestiwn sydd yn codi yn naturiol oddiwrth hyn yw, Tuag at bwy yr oedd efe yn teimlo llid a soriant? Yr ydym yn meddwl y gellir ateb yn ddibetrus mai at ddiafol, trwy dwyll yr hwn y dygwyd pechod a marwolaeth i'r byd. Yr oedd y Gwaredwr yn teimlo nad oedd yr olygfa o'i amgylch, ond un engraifft fechan o'r felldith a ddygodd pechod ar ddynion; ymrithiai holl alarwyr a beddau y byd, yn mhob oes a gwlad, o flaen ei feddwl dwyfol ef; ac nis gallai lai na theimlo gofid wrth weled y byd a grëasid mor brydferth a dedwydd ganddo, wedi ei ddinystrio fel hyn; a theimlai ddigofaint sanctaidd hefyd tuag at y gelyn maleisus oedd wrth wraidd yr holl ddifrod a'r galanastra yma.

Ond yr ydym yn darllen iddo, nid yn unig roddi ocheneidiau drom ond tywallt dagrau hefyd: "*Yr Iesu a wylodd.*" Ei ddagrau ef oeddynt yr unig ddagrau a dreiglasant erioed dros ruddiau dibechod. "Ni wnaeth bechod, ac ni chaed twyll yn ei enau;" ond er hyn oll yr ydoedd yn "ŵr gofidus a chynnefin â dolur." Yr ydym yn darllen am dano amryw weithiau yn wylo. Ond beth a allasai fod yr achos o'i ddagrau ar yr achlysur hwn? Y mae yn eglur nad wylo mewn hiraeth ar ol y marw yr oedd efe, fel Mair a Martha;

* Mae dwysder galar y chwiorydd yn ddigon o brawf fod Lazarus wedi marw yn wirioneddol, ac nad oedd unrhyw dwyll yn y mater.

canys yr oedd efe yn gwybod y byddai ei gyfaill yn fyw drachefn yn mhen ychydig fynydau. Ond ymddengys, oddiwrth yr hyn a ddywed yr Efengylwr, mai un o'r pethau a barai iddo wylo oedd gweled eraill o'i amgylch yn wylo. Yr oedd yno bawb o'i ddeutu yn wylo, ac y mae yn ddigon hysbys fod rhyw ddeddf o gydymdeimlad yn perthyn i'r natur ddynol ag sydd yn peri i ddagrau y naill effeithio ar deimladau y llall. Os dechreua un wylo mewn oedfa, ond odid nad â llawer eraill yn y gynnulleidfa i wylo heb geiso, wrth edrych arno. Pan y byddom yn ymweled â "thŷ galar," yr ydym rywfodd, yn ddiarwybod i ni ein hunain, yn myned i ysbryd y teulu, nes ei theimlo yn anhawdd peidio "wylo gyda'r rhai sydd yn wylo," os na bydd ein calonau yn gelyd iawn. Dyma un peth, debygem, sydd yn cyfrif am ddagrau yr Iesu ar yr achlysur dan sylw; ac y mae ei ddagrau yn brawf o berffeithrwydd ei ddynoliaeth, a thynerwch ei galon. Wylai hefyd o wir dosturi a chydymdeimlad, wrth feddwl am yr holl drueni oedd Satan a phechod wedi ddwyn ar ddynolryw; ac wrth ystyried fel yr oedd y gelyn creulawn angeu yn dinystrio cysuron teuluaidd ei gyfeillion anwylaf: "A'i enaid ef a dosturiodd, oherwydd adfyd Israel." "Yn eu holl gystudd hwynt efe a gystuddiwyd." (Barn. x. 16; Esaiah lxiii. 9.) Dyma galondid a chysur cryf i ninau i fyned ato i ddweyd ein cwyn yn mhob trallod a chyfyngder. Y mae efe yn sicr o'n gwrando, ac o symud y brofedigaeth, neu roddi nerth i'w dwyn: "Canys nid oes i ni Archoffeiriad heb fedru cyd-ddyoddef gyda'n gwendid ni; &c." (Heb. iv. 15, 16.)

Y mae rhywrai yn barod i feddwl fod wylo yn arwydd o wendid a bychander; ond y mae dagrau yr Iesu yn profi yn amlwg fod hyny yn gamsyniad. Dyma ddynoliaeth berffaith yn tywallt dagrau; a dyn yw yr unig greadur a fedr wneuthur hyny. Gall angel wneud llawer o bethau na fedr dyn mo'u gwneuthur; ond y mae dyn yn alluog i wneud un peth na fedr angel, sef wylo. Ac ni ddylai neb geisio atal, na chuddio, eu dagrau, ar achlysuron priodol.

Y mae dagrau y saint yn berlau gwerthfawr yn ngolwg Duw, ac yn cael eu cadw yn ofalus ganddo: "Dod fy nagrau yn dy gostrel," meddai y Salmydd, "onid ydynt yn dy lyfr di?" (Salm. lvi. 8.)

Wrth weled yr Iesu yn wylo ar y ffordd at fedd ei gyfaill, y mae rhai o'r Iuddewon yn troi at eu gilydd, ac yn dweyd, "*Wele fel yr oedd yn ei garu ef.*" Edrychai y rhai hyn ar ei ddagrau fel prawf o'i gariad at Lazarus; ond y mae efe wedi rhoddi prawf llawer cryfach na hyn o'i gariad at bawb o'i bobl: tywalltodd beth gwerthfawrocach na dagrau drosom, sef gwaed ei galon. Ond y mae rhai o'r edrychwyr, wrth weled yr Iesu yn wylo, yn gofyn, "*Oni allasai hwn, yr hwn a agorodd lygaid y dall, beri na buasai hwn farw chwaith?*" Yr oeddynt yn methu deall, os oedd ganddo gymaint o gariad a gallu ag a briodolid iddo, sut na buasai yn defnyddio ei allu i rwystro i'w gyfaill farw. Meddylient, gan hyny, y rhaid nad oedd ei ddagrau ond rhagrithiol, neu ynte, nad oedd yr hyn a ddywedid am ei waith yn rhoddi llygaid i'r dall yn wirionedd. "*Yna yr Iesu drachefn a riddfanodd ynddo ei hunan, ac a ddaeth at y bedd.*" Mae yn debyg mai anghrediniaeth y rhai a lefarasant yr hyn a gofnodir yn yr adnod flaenorol, a barodd iddo roddi yr ochenaid hon. Distawodd eu gwrth-ddadleuon, nid trwy eiriau, ond trwy y weithred ogoneddus o adgyfodi Lazarus o'r bedd. Ac y mae hyn yn ein harwain at y peth nesaf yn yr hanes, sef—

II. Y dull y cyflawnwyd y wyrth.

Peth cyffredin iawn yn mhlith yr Iuddewon oedd claddu mewn ogofeydd naturiol, neu rai wedi eu naddu mewn creigiau. Yr oedd yr ogofeydd hyn yn gyffredin yn ystafelloedd ëang, fel y gallai amryw bersonau sefyll yn syth ynddynt; ac yr oedd math o gelloedd, neu silffydd, yn eu hochrau lle y gosodid y meirw i orwedd. Ogof felly oedd bedd Lazarus, a maen mawr wedi ei ddodi ar enau yr ogof. "*Yr Iesu a ddywedodd, Codwch ymaith y maen.*" Hawdd fuasai iddo ef orchymyn i'r maen dreiglo ymaith o hono ei

hun; ond ni byddai efe byth yn gwastraffu ei allu gwyrthiol i arbed llafur dynol; ac i wneud yr hyn y gellid ei gyflawni trwy foddion naturiol. Mae efe am i ddynion roddi prawf o'u ffydd a'u hufudd-dod trwy wneud yr hyn a allant; ac yna fe wna yntau yr hyn sydd uwchlaw eu gallu. Ond nid cynt y gorchymynodd yr Iesu iddynt dreiglo ymaith y maen, nag y dangosodd Martha wrthwynebiad i hyny gael ei wneuthur: *"Martha, chwaer yr hwn a fuasai farw, a ddywedodd wrtho, Arglwydd, y mae efe weithian yn drewi: oherwydd y mae yn farw er ys pedwar diwrnod."* Yma yr ydym yn gweled fod ffydd Martha wedi myned dan gwmwl, fel nad oedd ganddi, ar hyn o bryd, un dysgwyliad am adferiad Lazarus; ond tybiai mai unig amcan yr Iesu, wrth orchymyn i'r maen gael ei dreiglo ymaith, oedd cael gweled corff ei gyfaill; ac yr oedd ei chariad at ei brawd yn peri iddi deimlo yn anfoddlawn i'w gorff gael ei ddangos yn awr, pan yr ydoedd, yn ol ei hofnau hi, wedi dechreu llygru. Ond y mae y Gwaredwr yn ei cheryddu yn dyner am ei hanghrediniaeth, trwy ddywedyd wrthi, *"Oni ddywedais i ti, pes credit, y cait ti weléd gogoniant Duw?"* Nid ydym yn darllen iddo ddywedyd hyn wrthi mewn cynifer o eiriau; ond dyma oedd swm a sylwedd y cwbl a ddywedasai efe wrthi. *Llygredigaeth* oedd hi yn ddysgwyl weled, ar ol i'r bedd gael ei agor, ond y mae Crist yn addaw y cai hi, yn lle hyny, weled *gogoniant*, os byddai iddi gredu. Y mae yn rhaid cael ffydd i weled gogoniant Duw, fel y mae yn rhaid cael llygad i weled yr haul. Y mae ar lawer o ddynion eisieu gweled cyn credu; ond y mae eu hanghrediniaeth yn rhwystro i Dduw ddatguddio ei ogoniant iddynt. Y rheol yw fod yn rhaid credu mewn trefn i weled ei ogoniant, a chael pethau mawrion ganddo. Yr ydym yn darllen "na allai Crist wneud dim gwyrthiau" yn Nazareth, oherwydd anghrediniaeth y trigolion. Ac o'r tu arall, "pob peth a all fod i'r neb a gredo." (Marc vi. 5; ix. 23).

Y mae geiriau yr Arglwydd Iesu yn cryfhâu ffydd Martha, ac yn codi dysgwyliad yn meddyliau y bobl am weled

gwyrth ogoneddus yn cael ei chyflawni: "*Yna y codasant y maen lle yr oedd y marw wedi ei osod.*" Dyna y cwbl a fedrai gallu dynol ei wneuthur—dim ond agor drws y bedd; ond yr oedd corff Lazarus mor farw eto â'r maen oedd wedi ei symud oddiar enau yr ogof. Ond yn awr, wele "yr Adgyfodiad a'r Bywyd" yn ymgymeryd â'i ran yntau o'r gwaith: "*A'r Iesu a gododd ei olwg i fynu, ac a ddywedodd, Y Tad, yr wyf yn diolch i ti am i ti wrando arnaf. Ac myfi a wyddwn dy fod di yn fy ngwrando bob amser: eithr er mwyn y bobl sydd yn sefyll o amgylch, y dywedais, fel y credont mai tydi a'm hanfonaist i.*" Y mae yr Iesu yn edrych mewn modd tra difrifol tua'r nef, ac yn anerch y Tad, fel hyn, i ddangos ei fod wedi derbyn ei allu a'i awdurdod oddiwrth Dduw; ac mai nid trwy swyngyfaredd, neu gynghrair â'r diafol, yr oedd yn cyflawni ei wyrthiau. Cawn fod yr Iuddewon, ychydig amser yn ol, yn ceisio ei labyddio am iddo ddweyd fod Duw yn Dad iddo. (Ioan x. 31—36.) Ond yma drachefn, y mae yn gosod ei hun allan fel Mab Duw, a phe buasai yn euog o gabledd, wrth hyn, fel yr haerai ei elynion, ni buasai y Tad byth yn gwrando arno; nac yn gosod ei sêl wrth ei honiadau trwy y wyrth fawr hon.

"*Ac wedi iddo ddywedyd hyn, efe a lefodd â llef uchel, Lazarus, tyred allan.*" Y mae efe yn llefaru wrth y marw, ac yn ei alw o'r bedd, gyda'r un rhwyddineb a phe buasai nid yn unig yn fyw, ond hefyd yn effro, ac yn dysgwyl yr alwad; canys y mae efe yn galw y pethau nid ydynt, fel pe byddent. Gallasai ddwyn Lazarus allan, yn unig trwy ewyllysio hyny, mewn modd dystaw a dirgelaidd; ond yr ydoedd am ddangos yn amlwg ei fod yn cael ei adgyfodi trwy air ei nerth ef. Y mae yn galw Lazarus wrth ei enw; ond ni wnaeth felly pan yn bywhâu merch Jairus, a mab y weddw o Nain. Pa beth a allai fod y rheswm am y gwahaniaeth hwn tybed? Y mae yr hen dad enwog Augustine, yn cynyg yr atebiad tarawiadol yma i'r cwestiwn:—Yr oedd y Gwaredwr yn awr yn mhlith y meirw; canys y mae yn debyg fod bedd Lazarus yn mynwent

y pentref, a dichon fod yno eraill wedi eu claddu yn yr un bedd, ac yr oedd cymaint o fywyd ac effeithioldeb yn llef Mab Duw, fel y buasai perygl iddo ddeffro yr holl feirw, a'u codi o'u beddau, oni buasai iddo nodi Lazarus allan o'u plith, wrth ei enw.* "*A'r hwn a fuasai farw a ddaeth allan, yn rhwym ei draed a'i ddwylaw mewn amdo: a'i wyneb oedd wedi ei rwymo â napcyn.*" Ciliai y bobl yn ol, mewn syndod a dychryn, wrth weled y marw yn dyfod allan yn fyw yn ei ddillad bedd. Gadawodd Crist lïeiniau y bedd ar ol, i arwyddo na byddai arno ef eu heisieu byth mwyach. Ond nid felly Lazarus; oblegyd dyfod allan o garchar y bedd dros ychydig, megys o dan feichnïaeth, i fyned yn ol yno eilwaith yr oedd efe. "*Yr Iesu a ddywedodd wrthynt, Gollyngwch ef yn rhydd, a gadewch iddo fyned ymaith.*" Gallasai Crist yn hawdd beri i'r dillad bedd syrthio ymaith o honynt eu hunain; ond y mae yn gorchymyn i'r cyfeillion oeddynt yn bresenol eu datod, er mwyn iddynt gael pob boddlonrwydd mai nid rhyw ddrychiolaeth oedd yno; ond fod Lazarus ei hunan wedi ei adgyfodi mewn gwirionedd. Pwy a all beidio dychymygu gweled y ddwy chwaer hoff yn rhuthro yn mlaen gyda llawenydd annhraethadwy, i gyfarch, i gofleidio, a chusanu eu hanwyl frawd? "O fy mrawd, fy mrawd!" meddai y naill a'r llall, dan hongian ar ei wddf, ac wylo o lawenydd. Yna y mae Lazarus yn eu cymeryd yn dirion, un yn mhob llaw, ac y mae y tri yn cydblygu wrth draed y Gwaredwr i ddïolch iddo, a'i addoli. Wedi hyny y maent hwy a'r Iesu yn myned gyda'u gilydd tua'r tŷ, a phwy a all ddesgrifio y gyfeillach ddedwydd a gafwyd ar yr aelwyd y noswaith hono? Dyma Lazarus wedi dychwelyd adref yn ol, nid o ryw wlad bellenig, ar y ddaear; ond o'r byd tudraw i'r bedd. Ond y mae yn ffaith dra hynod, nad oes genym hanes iddo ef, na neb arall, o'r rhai a ddaethant yn ol o fyd yr ysbrydoedd, ddweyd yr un gair, wrth eu cyfeillion, am ryfeddodau y byd dieithr hwnw. Mae yn debyg fod hyny, oherwydd rhyw resymau, yn beth hollol anmhosibl

* Gwel *Jacobus' Notes on John.*

iddynt. Modd bynag am hyny, y mae y dystawrwydd hwn yn un prawf cadarn o ddwyfol ysbrydoliaeth yr Ysgrythyrau. Pe ffug-chwedlau fuasai yr hanesion hyn, buasai yr ysgrifenwyr yn *sicr* o ymdrechu boddloni cywreinrwydd eu darllenwyr, trwy ddyfeisio rhyw adroddiadau, am y byd tudraw i'r llen, i'w gosod yn ngenau y rhai a ddaethant oddiyno yn ol i'n daear ni. Ond nid oes dim o hyn i'w gael yn yr Efengylau: y mae gwefusau y rhai a ddygwyd drachefn oddiwrth y meirw, wedi eu selio, am fod Duw yn ewyllysio i ni "rodio wrth ffydd, ac nid wrth olwg;" ac y mae dystawrwydd urddasol y Beibl ar faterion fel hyn yn llawn mor addysgiadol â'i eiriau.

III. Dybenion goruchel y wyrth.

1. *Egluro gogoniant yr Arglwydd Iesu.* Felly y dywedid ganddo ef ei hun: "Nid yw y clefyd hwn i farwolaeth, ond er gogoniant Duw, *fel y gogonedder Mab Duw trwy hyny.*" Yn ei ymddyddan â Martha, yr ydym yn ei gael yn honi, am dano ei hun, mai efe yw "yr Adgyfodiad a'r Bywyd," ac y mae y wyrth fawr hon yn cael ei chyflawni i brofi ei hawl diamheuol i'r teitlau goruchel hyn. Yr oedd efe wedi enill amryw fuddugoliaethau ar y gormesdeyrn creulawn angeu, cyn hyn, trwy fywhâu merch Jairus, a mab y weddw o Nain, &c.; ond ymladd brwydr âg angeu megys ar y maes agored yr ydoedd yn yr amgylchiadau hyny; ond yma, y mae yn ymosod ar angeu, ac yn ei orchfygu, yn ei gastell a'i amddiffynfa, trwy gyfodi Lazarus, nid yn unig o farw, ond hefyd o'r *bedd*. Dyma rywun o'r diwedd, yn natur dyn, yn medru "diddymu angeu."

Ond yn ei adgyfodiad ei hun yr enillodd ei fuddugoliaeth fwyaf gogoneddus ar angeu; ac y rhoddodd y prawf cryfaf o'i ddwyfol anfoniad. Nid oedd neb o dywysogion na rhyfelwyr enwocaf y ddaear erioed wedi llwyddo i gonero angeu, a dianc o hen garchar tywyll y bedd. Yr oedd rhai wedi eu hadgyfodi, y mae yn wir, ond nid oeddynt wedi dyfod i fynu o'r bedd trwy eu nerth eu hunain. Yr oedd Enoch ac Elias wedi eu symud heb brofi marwolaeth;

ond ni buont hwy erioed mewn brwydr âg angeu: *dianc* rhagddo a wnaethant, ac nid ei orchfygu. Eithr am Grist, y mae efe yn cael ei gymeryd yn garcharor gan angeu; ond bore y trydydd dydd y mae yn dryllio rhwymau angeu; yn myned âg agoriadau y carchar oddiarno; yn rhyddhâu llawer o'r carcharorion (Math. xxvii. 52, 53.); ac yn dyfod allan o'r bedd yn hamddenol a phwyllog, fel gorchfygwr. Dyma ffaith heb ei chyffelyb yn holl hanes y byd; canys efe yw yr unig un erioed a lwyddodd i goncro angeu a dyfod i fynu o'r bedd, trwy ei allu ei hun. "Efe a eglurwyd yn Fab Duw mewn gallu, yn ol ysbryd sancteiddiad, trwy yr adgyfodiad oddiwrth y meirw." (Rhuf. i. 4.)

2. *Arddangos adgyfodiad pechadur i fywyd ysbrydol.* Fel yr ydym wedi cael achlysur i sylwi, amryw weithiau o'r blaen, yr oedd yr holl wyrthiau a wneid gan y Gwaredwr ar gyrff dynion, yn cael eu bwriadu i osod allan ei waith achubol ar eneidiau dynion. Y mae y cyfnewidiad grasol a wneir ar bechadur, yn yr adenedigaeth, yn cael ei ddesgrifio yn fynych yn yr ysgrythyrau sanctaidd, fel bywhâu ac adgyfodi: "A chwithau a fywhâodd efe, pan oeddych feirw mewn camweddau a phechodau." (Eph. ii. 1.) Pan y mae pechadur yn cael ei gyfiawnhâu, y mae yn cael ei wneuthur hefyd yn feddianol ar fywyd o ras; canys nid yw y wisg ardderchog, o gyfiawnder Crist, byth yn cael ei rhoddi yn amdo am enaid marw. "Llef Mab Duw" oedd y moddion a ddefnyddiwyd i adgyfodi Lazarus; a'r un modd, ei lais ef trwy yr efengyl, sydd yn bywhâu y marw ysbrydol. Ond fel y darfu iddo ddefnyddio offerynoliaeth ddynol, i wneud rhyw bethau mewn cysylltiad âg adgyfodiad Lazarus, felly hefyd y mae yn dysgwyl i ddynion eto wneuthur yr hyn a allant, yn y gwaith o gyfodi eneidiau o fedd pechod. (1.) Y mae genym rywbeth i'w wneud tuag at ddwyn y marw ysbrydol i afael bywyd. "Codwch ymaith y maen." Nid ydyw yn gofyn, nac yn dysgwyl, ni gyfodi y marw; ond gallwn symud y maen. Er ein bod yn analluog i gyfnewid calonau ein cyd-ddynion, eto,

gallwn wneud llawer tuag at eu hiechydwriaeth, trwy eu rhybuddio, a'u cynghori; gosod esiamplau da o'u blaen, a gweddio drostynt. A oes rhywbeth yn ein hymddygiadau ni yn feini tramgwydd ar eu ffordd, ac yn tueddu i greu rhagfarn yn eu meddyliau yn erbyn crefydd? Codwn ymaith y maen, trwy ddiwygio oddiwrth y pethau hyny. (2.) Y mae genym rywbeth i'w wneud er cynnorthwyo y rhai sydd wedi eu bywhâu. Pan ddaeth Lazarus allan o'r bedd, yn rhwym ei draed a'i ddwylaw mewn amdo, "yr Iesu a ddywedodd wrthynt, Gollyngwch ef yn rhydd, a gadewch iddo fyned ymaith." Yr un modd, y mae y rhai sydd wedi eu bywhâu trwy ras yn gadael y bedd, ac yn dyfod allan o blith y meirw ysbrydol; ond y mae yr hen arferion a'r tueddiadau pechadurus yn glynu wrthynt, fel amdo Lazarus, ac yn eu hatal i rodio gyda rhwyddineb yn ngorchymynion a deddfau yr Arglwydd. Ond y mae yn ddyledswydd arnom ymdrechu cynnorthwyo ein gilydd, trwy ein cynghorion a'n hannogaethau, i "ddyosg yr hen ddyn, ac i roddi heibio bob pwys, a'r pechod sydd barod i'n hamgylchu." Peth chwithig iawn fuasai gweled Lazarus, ar ol ei adgyfodiad, yn parhâu i wisgo ei amdo, ac yn cerdded o amgylch y pentref, o ddydd i ddydd, yn ei ddillad bedd. Ond peth hollol mor annaturiol â hyny ydyw gweled crefyddwr yn dilyn ei hen arferion pechadurus; am hyny, os cyd-gyfodasom gyda Christ, "rhodiwn mewn newydd-deb buchedd." (Rhuf. vi. 4—11.)

3. *Rhoddi ernes a gwystl o'r adgyfodiad cyffredinol yn y dydd diweddaf.* Y mae efe wedi mynych addaw y bydd iddo adgyfodi y meirw. Fel hyn y dywed trwy y proffwyd, "O law y bedd yr achubaf hwynt; oddiwrth angeu y gwaredaf hwynt: byddaf angeu i ti, O angeu; byddaf dranc i ti y bedd." (Hos. xiii. 14.) A thrachefn yr ydym yn ei glywed yn dweyd, yn nyddiau ei gnawd, "fod yr awr yn dyfod, yn yr hon y caiff pawb a'r sydd yn y beddau glywed ei leferydd ef: a hwy a ddeuant allan: y rhai a wnaethant dda i adgyfodiad bywyd; ond y rhai a wnaethant ddrwg i

adgyfodiad barn." (Ioan v. 28, 29.) Yma yn adgyfodiad Lazarus y mae yn rhoddi prawf o'i allu i gyflawni ei addewid o gyfodi y meirw. Yr oedd ei waith yn gorfodi yr anrheithiwr creulawn i ollwng ei afael, a rhoddi eu brawd yn ol i'r ddwy chwaer alarus, yn ernes y bydd iddo ef, yn y dydd diweddaf, ail-uno yr holl deuluoedd a'r cyfeillion duwiol sydd wedi eu hysgaru gan angeu. Daw gyda ninau at feddau ein hanwyliaid, a rhydd hwynt yn ol i ni, mewn cyrff ysbrydol, gogoneddus, ac anfarwol.

"Ysgrifenodd 'ADGYFODIAD,'
  Goruwch dorau'r marwol byrth,
Mewn llyth'renau o oleuni,
  Un o honynt byth ni syrth;
Parant i belydru yno
  Hyd ei ail ddyfodiad ef;
Byth ni phyla eu goleuni
  Ond yn mwy goleuni'r nef."

IV. GWAHANOL EFFEITHIAU Y WYRTH.

1. *Bu yn foddion i ddwyn rhai i gredu yn Nghrist.* Cadarnhâu ffydd y dysgyblion (adn. 15), a dwyn eraill i gredu ynddo oedd amcan y Gwaredwr wrth roddi yr amlygiad yma o'i ogoniant (adn. 42); ac y mae yn ymddangos i'r amcan pwysig hwn gael ei gyrhaedd gyda golwg ar lawer o'r edrychwyr: "*Yna llawer o'r Iuddewon, y rhai a ddaethent at Mair, ac a welsant y pethau a wnaethai yr Iesu, a gredasant ynddo ef.*" Fel hyn, fe fu y wyrth o gyfodi un marw naturiol o'r bedd, yn foddion i gyfodi llawer o fedd pechod i fywyd ysbrydol; ac felly y mae Mab Duw yn cael ei ogoneddu yn ol yr hyn a ddywedasai. (Adn. 4.)

2. *Bu yn achlysur i galedu eraill a chyffroi eu llid a'u gelyniaeth yn ei erbyn: "Eithr rhai o honynt a aethant ymaith at y Phariseaid, ac a ddywedasant iddynt y pethau a wnaethai yr Iesu."* Ni *fynai* y rhai hyn gredu, ac y maent yn teimlo mor llidiog tuag at y Gwaredwr, wrth feddwl y byddai y weithred hon yn debyg o gynnyddu ei glod a'i ddylanwad, yn mhlith y bobl, fel yr aethant ymaith ar frys at y Phar-

iseaid, ei elynion mwyaf gwaedlyd, i adrodd iddynt yr hyn oedd wedi cymeryd lle, ac i'w hannog i ddefnyddio rhyw fesurau effeithiol yn ddioed i'w atal i fyned yn mlaen. Y mae hyn yn dangos, fel y sylwa Bengel, *fod yn haws concro angeu ei hunan na dinystrio anghrediniaeth.* Dyma brawf tarawiadol hefyd o wirionedd yr hyn a ddywedir yn y ddammeg: "Oni wrandawant ar Moses a'r proffwydi, ni chredant chwaith pe codai un oddiwrth y meirw." (Luc xvi. 31.)

Yr hanes olaf a gawn am Lazarus yw, ei fod yn mhen tua deufis ar ol hyn, mewn swper, gyda'r Iesu, yn nhŷ Simon y gwahanglwyfus: "Yna yr Iesu, chwe' diwrnod cyn y Pasg, a ddaeth i Bethania, lle yr oedd Lazarus, yr hwn a fuasai farw, yr hwn a godasai efe o feirw. Ac yno y gwnaethant iddo swper: a Martha oedd yn gwasanaethu; *a Lazarus oedd un o'r rhai a eisteddent gydag ef.*" (Marc xiv. 3; Ioan xii. 1, 2.) Mor rhyfedd oedd gweled dyn a fuasai farw, wedi dyfod yn ol o fyd yr ysbrydoedd, ac yn eistedd wrth fwrdd y wledd! Yr oedd hyn yn brawf boddhâol ei fod wedi ei adgyfodi mewn gwirionedd; ac mai nid drychiolaeth ydoedd, gan ei fod yn bwyta, ac yn cyfeillachu, fel dynion eraill. A phwy a all edrych ar y swper yma yn Bethania, heb feddwl am "swper neithior yr Oen," lle gwelir, nid un, ond tyrfa fawr na ddichon neb ei rhifo, o rai fel Lazarus, wedi eu hadgyfodi o'r bedd, yn eistedd gyda'r Iesu, wrth ei fwrdd yn ei deyrnas, a phawb o honynt wedi eu gwisgo âg anfarwoldeb a gogoniant? O! ddarllenydd caredig a fyddi di a minau yn mhlith y dyrfa ddedwydd hon, fydd wrth y bwrdd yn llys y nef?

# XXVIII.

## IACHAU Y WRAIG AG YNDDI YSBRYD GWENDID.

"*Ac wele, yr oedd gwraig ag ynddi yspryd gwendid ddeunaw mlynedd, ac oedd wedi cyd-grymu, ac ni allai hi mewn modd yn y byd ymuniawni. Pan welodd yr Iesu hon, efe a'i galwodd hi ato, ac a ddywedodd wrthi, Ha wraig rhyddhâwyd di oddi wrth dy wendid. Ac efe a roddes ei ddwylaw arni: ac yn ebrwydd hi a uniawnwyd, ac a ogoneddodd Dduw, &c.*"—Luc xiii. 11—17.

Y MAE yn anhawdd gwybod yn fanwl pa bryd, na pha le, y gwnaed y wyrth hon. Yr oll a ddywed yr Efengylwr wrthym am yr *amser* a'r *lle* yw—iddi gael ei chyflawni gan yr Arglwydd Iesu pan oedd efe "yn dysgu yn un o'r synagogau ar y Sabbath." Y peth tebycaf yw mai yn rhywle yn Galilea yr oedd y synagog hon. (Adn. 22.)

Yr oedd y wraig y gwnaed y wyrth yma arni yn "*ferch i Abraham*," nid yn unig, nac yn benaf, am ei bod yn Iuddewes, ond yn hytrach fel un oedd yn etifeddu ffydd Abraham, yr un modd ag y gelwir Zaccheus, ar ol ei droedigaeth, yn fab i Abraham. (Pen xix. 9.) "Gwybyddwch felly mai y rhai sydd o ffydd, y rhai hyny yw plant Abraham." (Gal. iii. 7.)

Gyda golwg ar *gystudd* y wraig hon, y mae yr hanes yn dweyd, fod ynddi "*yspryd gwendid*," a bod ei hanhwyldeb i'w briodoli i weithrediad maleisus Satan. (Adn. 16.) Mae rhai yn barnu nad oedd yma wir feddiant cythreulig; canys nid oes lle i feddwl fod hon yn orphwyllog, ac ni sonir i Grist orchymyn i'r ysbryd aflan fyned allan o honi, wrth ei hiachâu. Ond y mae eraill yn golygu ei bod hi yn cael ei meddianu gan ddiafol, er nad mewn dull mor ddychrynllyd â'r rhai cythreulig yn gyffredin. Modd bynag am hyn, y mae yn sicr fod gan Satan ryw law yn ei chystudd, yn ol tystiolaeth bendant Crist ei hun, "*yr hon*," ebe efe "*a*

*rwymodd Satan, wele ddeunaw mlynedd.*" (Adn. 16.) Mae hanes Job yn profi yn amlwg fod gan Satan allu i gystuddio dynion, a bod yr Arglwydd weithiau yn goddef iddo wneuthur hyny: "Felly Satan a aeth allan oddi ger bron yr Arglwydd, ac a darawodd Job â chornwydydd blin, o wadn ei droed hyd ei goryn." (Job ii. 7.) Nid yw yn ddim rhyfeddach fod yr Arglwydd yn goddef i'r gelyn galluog a maleisus hwn gystuddio cyrff dynion, na'i fod yn goddef iddo gythryblu eu meddyliau. Ac heblaw hyny, yr ydym yn gwybod yn dda ei fod yn goddef yn fynych i ddynion drwg foddhâu eu tueddiadau annuwiol, trwy gystuddio ei bobl; a pha ryfedd, gan hyny, ei fod yn caniatâu i ysbrydion drwg wneuthur yr un peth? Ond y mae efe yn goruwchreoli gweithrediadau y naill a'r llall, i fod er lles ei bobl, a'i ogoniant ei hun.

Yr oedd y druanes yma wedi ei gwanychu i'r fath raddau, gan ei chystudd, fel yr oedd hi "*wedi cyd-grymu, ac ni allai hi mewn modd yn y byd ymuniawni.*" Un ardderchowgrwydd neillduol, sydd yn perthyn i ddyn, ac yn ei wahaniaethu oddiwrth yr anifail, ydyw ei agwedd uniawnsyth, a'i allu i godi ei olwg i fynu i'r nef. Y mae y creaduriaid eraill yn edrych i lawr; ac y mae hyny yn briodol iawn; oblegyd y mae y ddaear yn meddu pobpeth sydd yn angenrheidiol i gyflenwi holl anghenion yr anifail, ac y mae yr oll o hono ef i ddisgyn i lawr i'r ddaear yn ol wrth farw. Ond nid felly am ddyn: y mae arno ef eisieu bendithion o'r nefoedd; canys nis gall ei enaid fyw ar bethau y byd yma, mwy nag y gall ei gorff fyw ar faddeuant, a sancteiddrwydd, &c. Y mae yn ddyledswydd arno ef, gan hyny, "geisio y pethau sydd uchod;" ac ymddyrchafu o ran ei feddwl i ddal cymundeb â'r Duw sydd yn preswylio yn yr uchelder. Mewn gair, y mae "ein hymarweddiad ni i fod yn y nefoedd." Dichon fod yr Arglwydd am roddi rhyw awgrym o'r pethau hyn i ddyn, yn gystal a gosod mwy o addurn a phrydferthwch arno, wrth ei greu yn greadur uniawnsyth, a thremiad ei lygaid tua'r wybrenau. Ond am y wraig yma, druan,

yr oedd ei chystudd wedi ei gwneuthur mor gam â mïaren, fel nas gallai hi mewn un modd sefyll yn syth, a chodi ei golygon tua'r nef; ac yr oedd hi wedi bod yn y cyflwr annedwydd hwn am y cyfnod maith o ddeunaw mlynedd.

Yr oedd anhwyldeb hon yn ddarlun cywir o gyflwr ysbrydol pechadur wrth natur. Y mae yntau, fel hithau, wedi ei rwymo gan satan; canys dywed y Beibl ei fod "yn magl y diafol, yn cael ei ddal ganddo wrth ei ewyllys ef." (2 Tim. ii. 26.) Gellir rhwymo llinyn sidan, mor ysgafn ac mor esmwyth, wrth droed aderyn, fel na theimla ei fod yn garcharor nes y ceisia ehedeg; a'r un modd, nid yw pechadur yn teimlo ei fod yn gaeth gan bechod a satan, nes y delo i ymdrechu caru Duw, a chadw ei orchymynion. Yna daw i wybod yn fuan am brofiad yr Apostol, pan y dywedai, "Eithr yr wyf yn gweled deddf arall yn fy aelodau, yn gwrthryfela yn erbyn deddf fy meddwl, ac yn fy nghaethiwo i ddeddf pechod, &c." (Rhuf. vii. 23.)

Fel yr oedd y wraig yma hefyd trwy weithrediad satan wedi cyd-grymu, ac yn hollol analluog i ymuniawni, felly y mae enaid dyn, o dan ei ddylanwad, wedi gogwyddo o ran ei serchiadau tua'r ddaear. Y byd yma a'i bethau sydd yn llenwi ei feddwl; y mae "yn synied pethau daearol;" yn glynu wrth y llwch; ac yn rhoddi ei serch ar bethau sydd ar y ddaear, yn lle ar bethau sydd uchod. Y mae yn debyg i'r angel syrthiedig hwnw a ddarlunir gan Milton,

"Sef Mammon yr ansythaf yspryd coll
O'r nef a gwympodd; canys hyd yn oed
O fewn i'r nef, gogwyddai 'i drem a'i fryd
Bob amser tua'r llawr, gan hoffi yn fwy
Oludoedd palmant nef, ei llawr o aur,
Na dim fwynheid yn amgen, pur neu ddwyfol
Yn yr olygfa lwys."

Wedi edrych yn frysiog, fel hyn, ar gystudd y wraig yma, ni a gymerwn gipolwg eto ar ei hiachâd. Mae yn deilwng o'n sylw mai yn y synagog y cafodd ei hiachâu. Er fod ei chystudd wedi anffurfio ei chorff, nes ei gwneuthur yn wael

ac anmhrydferth yr olwg arni, fel yr oedd ymddangos yn gyhoeddus yn rhwym o fod yn beth anhyfryd i'w theimladau, ac er fod yn anhawdd iddi ymlwybro a symud, eto nid yw yn cymeryd hyny yn esgus dros esgeuluso addoliad Duw, ar y Sabbath. A meddyliwch mor dda fu iddi, ei bod wedi dyfod, trwy anhawsderau mawrion, i'r synagog y bore hwnw; canys pe buasai wedi aros gartref, collasai y fendith werthfawr o gael ei gwneuthur yn berffaith iach. Y mae llawer un cystuddiol, ar ei hol, wedi cael bendith yn moddion gras, nid trwy gael ei iachâu, fel y cafodd hi, y mae yn wir; ond trwy gael nerth i ddyoddef ei gystudd yn fwy amyneddgar a dirwgnach.

Nid oes hanes idd' *ofyn* am iachâd. Fe allai fod arni ofn gwneud hyny ar y Sabbath, rhag cael ei cheryddu gan y Phariseaid. Ond dichon ei bod hi, er hyny, yn rhyw ddysgwyl yn ddistaw y cymerai y Gwaredwr drugaredd arni. Ac yr oedd efe yn gweled fod ganddi ffydd i gael iachâd, am hyny, y mae yn ei galw hi ato, ac yn rhoddi ei ddwylaw arni, gan ddywedyd wrthi yr un pryd, "*Ha wraig, rhyddhâwyd di oddi wrth dy wendid.*" Ac y mae y fath effaith yn cyd-fyned â hyn, fel y darfu iddi yn y fan gael ei llwyr adferu; canys "*yn ebrwydd hi a uniawnwyd, ac a ogoneddodd Dduw,*" trwy ei glodfori ger bron yr holl gynnulleidfa am yr iachâd. "Yr hwn a abertho foliant, a'm gogonedda i." (Salm l. 23.)

Mae yr Arglwydd Iesu eto yn rhyddhâu rhai sydd fel y wraig yma wedi eu rhwymo gan satan. Mae yn gwneuthur hyny—

1. *Trwy roddi iachâd corfforol*, fel yn yr amgylchiad hwn. Y mae yn wir nad yw iachâu dynion, trwy fendithio cyffyriau a moddion cyffredin, yn beth mor rhyfedd yn ein golwg ni â iachâu trwy wyrth; ond nid oes dim llai o drugaredd a gallu dwyfol ynddo er hyny. Ond er fod gallu a thosturi yr Arglwydd yn anfeidrol, y mae yn aml yn hir oedi gwaredu ei bobl o'u cystuddiau; ac y mae llawer yn barod i ryfeddu at hyny; oblegyd y maent yn meddwl pe buasai

ganddynt hwy allu i waredu y rhai sydd yn anwyl ganddynt o'u cyfyngderau, y gwnaethent hyny yn ddioed; a pha fodd na wnai yr Arglwydd felly? Mewn atebiad i hyn, y mae yn gweddu i ni gofio, er fod ei galon rasol ef yn llawn o dosturi a chydymdeimlad, eto, nad ydyw yn cymeryd ei lywodraethu yn benaf gan ei dosturi. Nis gall byth wneud lles a chysur ei greadur yn brif nod a dyben ei weithredoedd; canys byddai hyny yn eilunaddoliaeth; oblegyd ni byddai yn ddim amgen na diorseddu y Creawdwr, a dyrchafu y creadur i'r orsedd yn ei le; diorseddu Duw, a duweiddio dyn. Gogoneddu Duw oedd, ac ydyw, prif amcan a dyben holl weithredoedd y Cyfryngwr; ac felly y mae yn gadael y rhai anwylaf ganddo mewn cystudd a thrallod, pan fyddo hyny yn tueddu i ddwyn mwy o ogoniant i Dduw nag a ddygai eu hiachâd a'u gwaredigaeth ddioed. (Ioan xi. 4.) Ac heblaw hyny, y mae iechydwriaeth eneidiau ei bobl yn bwysicach yn ei olwg na iechyd corfforol; ac felly y mae yn aml yn eu gadael yn hir mewn cystudd, er "llesâd iddynt, fel y byddent yn gyfranogion o'i sancteiddrwydd ef." (Heb. xii. 10.) Gadawyd y wraig yma mewn nychdod a gwaeledd, am ddeunaw mlynedd, i gyrhaedd yr amcanion goruchel hyn. Ond y mae efe yn sicr o waredu ei bobl o'u cystuddiau, mor fuan ag y byddo hyny yn unol â'u lles hwynt, ac â'i ogoniant ei hun; a phwy ddyn duwiol a ddymunai gael ei ryddhâu a'i waredu yn gynt na hyn?*

2. *Trwy ryddhâu eneidiau dynion o gadwynau satan.* Nid oes gobaith i ni byth allu adenill ein rhyddid, o honom ein hunain, trwy ddryllio y llyffetheiriau, a dianc o'r caethiwed; ac nid yw angeu ychwaith yn rhyddhâu caethion pechod a satan, fel y mae yn gwneud â'r rhai sydd mewn caethiwed tymhorol. Ond y mae modd datod ein cadwynau, a'n gwneuthur yn rhyddion; canys "i hyn yr ymddangosodd Mab Duw, fel y datodai weithredoedd diafol." (1 Ioan iii. 8.) Y mae efe wedi ei eneinio i bregethu gollyngdod i'r caethion; ac y mae wedi ymgymeryd â'r gwaith o ddwyn

* Gwel *Howe's Works*, Vol. vi., p. 107—138.

y caffaeliaid oddiar y cadarn. "Os y Mab, gan hyny, a'ch rhyddhâ chwi, rhyddion a fyddwch yn wir." (Ioan viii. 36.)

3. *Trwy weinidogaeth angeu.* Yn angeu y mae yr Arglwydd yn llwyr ryddhâu eneidiau ei bobl, ac yn gosod eu cyrff ar y ffordd i gael eu gwaredu, am byth oddiwrth holl rwymau satan. Yn dra phriodol, gan hyny, y gelwir marwolaeth y saint yn "ddatod." Yr oedd un dyn duwiol yn dweyd, pe buasai efe yn myned i dynu llun angeu, y buasai efe yn ei ddarlunio, nid yn y dull y gwneir yn gyffredin, sef fel hen ysgerbwd *(skeleton)* hagr, a phladur yn ei law; ond fel angel prydferth, ag allwedd aur yn ei law, i ollwng y carcharor yn rhydd; oblegyd dyna ydyw angeu i'r Cristion—rhywbeth tebyg i'r angel caredig hwnw a fu yn datod cadwynau Pedr, ac yn ei arwain allan o'r carchar. (Act. xii. 7—10.)

Bu gwaith yr Iesu yn iachâu y wraig yma, yn achlysur i gynhyrfu llid a digofaint blaenor y synagog: "*A'r archsynagogydd* a atebodd yn ddigllawn, am i'r Iesu iachâu ar y Sabboth, ac a ddywedodd wrth y bobl, Chwe' diwrnod sydd, yn y rhai y dylid gweithio: ar y rhai hyn gan hyny deuwch, a iachâer chwi: ac nid ar y dydd Sabboth.*" Yr oedd ar hwn ormod o ofn awdurdod a doethineb yr Iesu i anturio ymosod arno ef ei hun yn uniongyrchol, a'i feio am iachâu ar y Sabbath, am hyny y mae yn troi at y bobl, ac yn eu ceryddu hwynt yn llym ac yn sarug; ond er mai wrth y *bobl* y llefarai, eto, at y Gwaredwr mawr ei hun yr ydoedd yn annelu ei saethau gwenwynig. Ceisiai haeru fod iachâu ar y Sabbath yr un peth â gweithio, ac felly ei fod yn anghyfreithlawn. Ond nid sêl dros ogoniant Duw, a sancteiddiad y Sabbath, fel y proffesai, oedd yn ei gynhyrfu, ond casineb at athrawiaeth yr Iesu, a chenfigen am fod ei wyrthiau yn ei wneuthur mor glodfawr a phoblogaidd. Mae yn dygwydd yn fynych eto, mai dynion fel hyn, yn troi mewn

* Heblaw arwain a threfnu yr addoliad cyhoeddus, yr oedd gan yr arch-synagogydd awdurdod i benderfynu cwerylon rhwng cymydogion, ac i ddiarddel a chospi troseddwyr, &c.

swyddau uchel yn eglwys Dduw, ydynt y gelynion gwaethaf i grefydd ysbrydol. Fe wyddai Crist yn dda, nad oedd yr holl ofal, a broffesid gan y Pharisead rhagrithiol hwn, am gadwraeth y Sabbath, yn ddim ond hûg i geisio cuddio ei falais a'i elyniaeth tuag ato ef; ac am hyny, y mae yn rhwygo ymaith ei ffug-wyneb, gan ddynoethi ei ragrith a'i anghysondeb ger bron yr holl gynnulleidfa: "*Am hyny yr Arglwydd a'i hatebodd ef, ac a ddywedodd, O ragrithiwr, oni ollwng pob un o honoch ar y Sabboth ei ŷch neu ei asyn o'r preseb, a'i arwain i'r dwfr? Ac oni ddylai hon, a hi yn ferch i Abraham, yr hon a rwymodd Satan, wele ddeunaw mlynedd, gael ei rhyddhâu o'r rhwym hwn ar y dydd Sabboth?*" Y mae pob gair yn ymresymiad yr Iesu yn bwysig a chynwysfawr ac yn cyfiawnhâu y weithred rasol yr oedd efe newydd ei chyflawni. Os oedd pob un o honynt hwy yn ystyried fod yn gyfreithlawn gwneuthur trugaredd âg ŷch neu asyn ar y Sabbath, onid oedd yn iawn iddo ef wneud trugaredd â'r wraig yma, yr hon oedd yn greadur rhesymol, ac hefyd yn berchen ffydd Abraham? Yr oedd gollwng yr anifail yn rhydd, ei arwain i'r dwfr, ac yn ol i'r preseb, a'i rwymo drachefn, yn llawer mwy o "*waith,*" na'r hyn oedd efe wedi ei wneuthur; canys nid ydoedd wedi gwneud dim, wrth iachâu y wraig, ond dywedyd y gair, a gosod ei ddwylaw arni. Yr oeddynt hwy eu hunain, gan hyny, yn gwneud llawer mwy o waith bob Sabbath, heb unrhyw betrusder, na'r hyn a wnaethid ganddo ef. Ac heblaw hyny, nid oedd yr anifail wedi bod yn rhwym, ac yn sychedig, ond am ychydig oriau, pan y gollyngid ef yn rhydd i'w ddiodi, ond yr oedd hon wedi bod yn rhwym, mewn cystudd, am ddeunaw mlynedd. Satan hefyd oedd wedi rhwymo hon, a pha beth a allasai fod yn fwy cyfreithlawn a phriodol ar ddydd yr Arglwydd, na chyflawni gwaith yr Arglwydd, trwy "dattod gweithredoedd dïafol?"

Fe fu yr ymresymiad anatebadwy hwn o eiddo yr Iesu, Iesu, yn foddion i gywilyddio yr arch-synagogydd a'i bleidwyr, am iddo ddangos mor wan a disail oedd eu gwrth-

ddadleuon, a'u gwneuthur yn fud ger bron yr holl gynnulleidfa: "*Ac fel yr oedd efe yn dywedyd y pethau hyn, ei holl wrthwynebwyr ef a gywilyddiasant: a'r holl bobl a lawenychasant am yr holl bethau gogoneddus a wnaid ganddo.*" Yr oedd yr hyn a gymerodd le yma, yn rhyw rag-ddangosiad o dynged druenus holl wrthodwyr Crist, yn y dydd diweddaf; canys "ato ef y deuir, a chywilyddir pawb a ddigiant wrtho." "Ei elynion ef a wisgaf â chywilydd: arno yntau y blodeua ei goron." (Salm cxxxii. 18.)

## XXIX.

## IACHAU Y DYN CLAF O'R DROPSI.

"*Bu hefyd, pan ddaeth efe i dŷ un o benaethiaid y Phariseaid ar y Sabboth, i fwyta bara, iddynt hwythau ei wylied ef. Ac wele, yr oedd ger ei fron ef ryw ddyn yn glaf o'r dropsi, &c.*"—LUC xiv. 1—6.

YR oedd y Phariseaid yn blaid lïosog a dylanwadol iawn yn mhlith yr Iuddewon, ac yr oeddynt, fel dosbarth, yn elynion calon i'r Gwaredwr, oherwydd ei fod ef yn arfer dynoethi eu rhagrith a'u twyll mor ddiarbed. Ond er eu bod wedi parhâu cyhyd yn eu hanghrediniaeth, yr oedd efe eto, yn ymyl diwedd ei weinidogaeth, o'i hir amynedd, heb eu rhoddi i fynu yn llwyr i galon-galedwch barnol; canys yr ydym yma yn cael hanes am dano yn myned atynt, ac yn cyfeillachu â hwynt, i'r dyben o geisio eu hargyhoeddi, a'u henill i fod yn ddeiliaid o'i deyrnas. Yr oedd yr hwn â'i gwahoddodd i'w dŷ i giniawa, y Sabbath yma, yn un o'u penaethiaid. Dichon ei fod yn un o lywodraethwyr y synagog, neu yn aelod o'r senedd fawr yn Jerusalem. Modd bynag, y mae yn ymddangos ei fod, oherwydd ei gyfoeth, ei swydd, neu ei ddysgeidiaeth, yn ddyn o barch a dylanwad mawr yn eu plith. Derbyniodd Crist y gwahoddiad, er mwyn cael cyfleusdra i wneuthur daioni, er y gwyddai yn dda mai oddiar amcan dichell-ddrwg yr oedd y gŵr mawr yma yn dymuno arno fyned adref gydag ef o'r oedfa. Yr oedd hwn wedi gwahodd amryw o'i gyfeillion, o blith y Phariseaid, a'r Athrawon Iuddewig, i ddyfod yno i gyfarfod yr Iesu. "*A bu, iddynt hwythau ei wylied ef,*" medd yr hanes. Craffent yn fanwl ar ei holl eiriau, a'i ymddygiadau, gan obeithio y byddai iddo wneud, neu ddweyd rhywbeth, a roddai achlysur iddynt i achwyn arno. Byddai yn dda i ninau gofio yn barhaus fod llawer yn ein gwylied.

"*Ac wele, yr oedd ger ei fron ef ryw ddyn yn glaf o'r dropsi.*" Nid yw yn debygol fod hwn yn un o'r teulu, nac o'r

gwahoddedigion; canys dywedir i'r Iesu, ar ol ei iachâu, ei ollwng ef ymaith. Tybia rhai ei fod wedi ei ddwyn yno yn fwriadol gan y Phariseaid, i edrych a wnai Crist ei iachâu, fel y gallent ei gyhuddo o dori y Sabbath, yn ol eu daliadau hwy. Ond y mae yn llawn mor debygol fod y dyn wedi dyfod yno o hono ei hunan, mewn dysgwyliad am feddyginiaeth, er ei fod yn ofni ceisio iachâd, rhag digio y Phariseaid. Yr oedd rhyddid, i'r rhai a ewyllysient, i ddyfod i mewn fel hyn i dai yn y dwyrain, ar amser gwledd, neu bryd bwyd, heb eu gwahodd, na chymaint â gofyn caniatâd. (Luc viii. 36, 37.) Mae yn debyg fod corff ac aelodau y dyn yma, druan, wedi chwyddo, a'i fod yn anadlu gyda llawer o boen ac anhawsder. Safai yn fud yn mhresenoldeb yr Iesu, gan obeithio y byddai i'r olwg ar ei anhwyldeb poenus gynhyrfu ei dosturi. Ond cyn ei iachâu, y mae y Gwaredwr yn apelio at y cwmni, ac yn gofyn iddynt a oedd cyflawni y fath weithred o drugaredd ar y Sabbath, yn drosedd o gyfraith Duw? "*A'r Iesu gan ateb a lefarodd wrth y cyfreithwyr a'r Phariseaid, gan ddywedyd, Ai rhydd iachâu ar y Sabbath?*" Fel hyn y mae yn ateb eu meddyliau dirgelaidd, ac yn rhoddi cyfleusdra teg iddynt i brofi, os medrent, fod y fath weithred yn anghyfreithlawn, fel, os na wnaent, na byddai ganddynt unrhyw esgus dros ei feio ef am ei chyflawni. "*A thewi a wnaethant.*" Ni *fynent* addef fod yn iawn iachâu ar y Sabbath, am y buasent, wrth hyny, yn cyfiawnhâu ymddygiad yr Iesu; ac o'r tu arall, ni *allent* brofi fod y fath weithred yn anghyfreithlawn, ac am hyny, y maent yn tewi. Yna y mae yr Iesu yn cymeryd y dyn erbyn ei law, ac mewn moment, yn eu gŵydd hwynt oll, yn adferu ei gorff chwyddedig i'w briodol lun a'i faintioli, ac yn ei ollwng adref yn berffaith iach.

Mae dyoddefgarwch yr Iesu i'w weled yn amlwg, yn ei waith yn peidio ceryddu y Phariseaid, yr eisteddai i fwyta gyda hwynt, hyd nes yr oedd y dyn a iachesid wedi myned allan o'r ystafell. Yna wedi iddo ollwng ymaith y dyn, y mae yn apelio atynt drachefn, gan ddywedyd, "*Asyn neu*

*ych pa un o honoch a syrth i bwll, ac yn ebrwydd nis tyn ef allan ar y dydd Sabbath?*" Mae yn rhoddi atebiad anwrthwynebol, i'w gwrth-ddadleuon yn erbyn iachâu ar y Sabbath, trwy ddangos nad oeddynt hwy eu hunain yn petruso gwneud peth yr oedd yn llawer anhawddach profi ei gyfreithlondeb, pan y byddent mewn perygl o gael colled dymhorol. Yr oedd codi anifail o'r pwll, yn llawer mwy o lafur nag oedd ei waith ef yn iachâu dyn claf; ac yr oedd bywyd anifail yn llawer llai o werth na bywyd dyn; ac os oeddynt hwy yn ystyried fod yn gyfreithlawn codi anifail o'r ffos, ar y Sabbath, pa fodd y gallent ei feio ef, am estyn ei law i achub bywyd dyn oedd mewn perygl o gael ei fygu gan y dyfrglwyf? "*Ac ni allent roi ateb yn ei erbyn ef am y pethau hyn.*" Cawsant eu distewi, ond ni fynent eu hargyhoeddi, ac am hyny, yn lle credu ynddo, y maent yn tramgwyddo wrtho, ac yn penderfynu dïal arno, pan gaent amser cyfaddas.

Wrth sylwi ar y pethau a lefarodd yr Iesu yma, yn nhŷ y Pharisead, yr ydym yn gweled fod ei ymddyddanion ef wrth y bwrdd, yn y parlawr, yr un mor adeiladol â'i bregethau yn y synagog, a'r deml. Ac yn hyn, fel mewn pethau eraill, y mae yn gweddu i ninau ymdrechu ymdebygoli iddo, a dilyn yr esiampl a adawodd efe i ni fel y canlynem ei ol ef. "Bydded eich ymadrodd bob amser yn rasol," ac "na ddeued un ymadrodd llygredig allan o'ch genau chwi, ond y cyfryw un ag â fyddo da i adeiladu yn fuddiol, fel y paro ras i'r gwrandawwyr." (Col. iv. 6; Eph. iv. 29.)

# XXX.

## BARTIMEUS DDALL YN CAEL EI OLWG.

"*A bu, ac efe yn nesâu at Jericho, i ryw ddyn dall fod yn eistedd yn ymyl y ffordd yn cardota: a phan glybu efe y dyrfa yn myned heibio, efe a ofynodd pa beth oedd hyn. A hwy a ddywedasant iddo, Mai Iesu o Nazareth oedd yn myned heibio. Ac efe a lefodd, gan ddywedyd, Iesu, Mab Dafydd, trugarhâ wrthyf, &c.*"—LUC xviii. 35—43.

[MATH. xx. 30—34; MARC. x. 46—52.]

Y MAE adroddiadau yr Efengylwyr yn gwahaniaethu, gyda golwg âr ddau beth cysylltiedig â'r wyrth hon, sef y *lle* y cyflawnwyd hi, a *nifer* y deillion a gawsant eu golwg. Dywed Mathew fod yno *ddau* ddeillion; ond nid yw Marc a Luc yn son am ddim ond *un;* ar yr un pryd, nid ydynt yn dweyd yn bendant mai un yn unig oedd yno. Drachefn, y mae Mathew a Marc yn dweyd i'r wyrth gymeryd lle pan oedd yr Iesu yn myned *allan o* Jericho; ond y mae Luc o'r tu arall, yn dweyd mai pan oedd efe "yn *nesâu at* Jericho," y bu hyn. Cynygir amryw ffyrdd, gan esbonwyr, i gysoni y gwahanol adroddiadau: 1. Tybia rhai i dri o ddeillion gael eu golwg y pryd hwn; un pan oedd yr Iesu, fel y dywed Luc, yn nesâu at Jericho, a dau eraill, fel y dywed Mathew, pan oedd efe yn myned allan oddiyno, a bod Marc yn son yn unig am un o'r ddau hyny, sef Bartimëus. 2. Barna eraill mai dau yn unig a gawsant eu golwg; un wrth i'r Gwaredwr fyned i mewn i Jericho; a'r llall wrth iddo fyned allan oddiyno; a bod Luc yn rhoddi hanes y naill, a Marc yn adrodd hanes y llall; ond fod Mathew yn uno hanes y ddau, heb nodi yr amser a'r lle yn fanwl, am nad oedd hyny ond peth dibwys, mewn cymhariaeth, yn ei olwg. 3. Y mae eraill yn meddwl i'r Iesu fyned heibio i un o'r deillion ar ei fynediad i mewn i Jericho, fel y dywed Luc, ond iddo oedi ateb ei weddi, i'r

dyben o brofi ei ffydd, hyd nes yr oedd efe yn myned allan oddiyno yn mhen rhai oriau; ac i'r dall yma, yn y cyfamser, daro wrth gydymaith dall, oedd yn byw yn y ddinas, ac i'r ddau fyned gyda'u gilydd at y porth, i ddysgwyl yr ar Iesu, ei fynediad o'r dref, a chael eu golwg ganddo, y pryd hwnw, fel y dywed Mathew. 4. Dadleua llawer eraill, fod y geiriau a gyfieithir, "A bu, ac efe yn nesâu at Jericho," yn arwyddo—bod yn agos at y ddinas, heb benderfynu pa un ai myned i mewn iddi, ynte myned allan o honi yr ydoedd. Mae amryw esboniadau eraill yn cael eu rhoddi ar y dyrysweh yma. Nid ydym yn rhwym o geisio penderfynu pa un o honynt sydd yn gywir, na pha fodd y mae cysoni yr adroddiadau; digon i gyfarfod â holl wrthddadleuon anffyddwyr, yw dangos y *gellir* eu cysoni, a hyny hefyd mewn mwy nag un ffordd. Mae yn debyg, pe buasem yn gyfarwydd â'r holl amgylchiadau, na welsem yma unrhyw anhawsdra. Mae ychydig o anghysonderau ymddangosiadol fel hyn, yn profi tu hwnt i bob dadl, fod yr Efengylwyr yn ddynion gonest, ac yn adrodd ffeithiau gwirioneddol; canys pe buasent yn dwyllwyr, wedi cytuno â'u gilydd i ysgrifenu ffug-hanes, y mae yn sicr y buasent yn gofalu am fod yn berffaith gyson yn eu hadroddiadau o amgylchiadau fel hyn. Y peth tebycaf yw, mai *dau* ddeillion a gawsant eu golwg y pryd hwn, ac nid tri, a bod Marc a Luc yn son yn unig am un o'r ddau, sef Bartimëus, oherwydd fod hwn yn fwy adnabyddus, ar ryw gyfrifon, na'r llall. Y mae hadroddiadau yn rhy debyg i'w gilydd, o ran eu sylwedd, i ni allu credu eu bod yn cyfeirio at ddau berson gwahanol. Y mae yma amryw bethau yn hanes Bartimeus y byddai yn werth ini sylwi ychydig arnynt, er ein haddysg:—

I. Ei gyflwr annedwydd.

Wrth edrych ar ei sefyllfa ni a welwn ddarlun cywir o gyflwr ysbrydol dyn wrth natur.

1. *Yr ydoedd yn ddall.* Ni ddywedir wrthym pa un ai wedi ei eni yn ddall, ynte wedi colli ei olwg, drwy ryw gystudd, neu ddamwain, yr ydoedd. Bendith anmhris-

iadwy yw y golwg. Y mae calon y fam yn lloni pan y gwel ei baban bach yn troi ei lygad gloyw ar ol y ganwyll, yn arwydd ei fod yn gweled. O'r tu arall, druan o'r fam sydd yn gwybod am y brofedigaeth chwerw o fagu plentyn dall. Edrychwch arni: y mae hi yn dechreu ofni nad yw ei baban hoff yn gweled; ond i gael sicrwydd ar y mater, y mae hi yn ei phryder, yn ei gymeryd at y ffenestr, ar ddiwrnod clir, ac yn ysgwyd rhyw degan prydferth o'i flaen, i edrych a gymer efe sylw o hono. Na, ysywaeth, y mae holl ymdrech y fam i dynu ei sylw yn ofer; nid oes un argoel fod y bychan yn craffu ar ddim: saif ei ddau lygad mor farwaidd a llonydd â dwy belen o blwm. Erbyn hyn y mae ofnau y fam druan wedi eu cadarnhâu, yn lle eu symud; y mae hi wedi ei llwyr argyhoeddi bellach fod ei baban tlws a diniwed yn ddall; a phwy a all ddesgrifio ei thrallod a'i gofid? Meddyliwch hefyd mor annifyr a gresynus yw sefyllfa y dall druan. Gall ei fod yn nghanol y golygfeydd mwyaf prydferth a swynol, ond ni ŵyr efe ddim am yr hyfrydwch a fwynheir wrth edrych ar brydferthion anian; rhyfeddodau celfyddyd; a gwynebau siriol ceraint a chyfeillion. Rhyw un nos faith, dywyll, bruddaidd, yw ei holl oes. Mor effeithiol a thoddedig y mae Milton yn desgrifio ei ddallineb:—

"Fel hyn dychwela holl dymhorau'r flwydd;
Ond dychwel ni wna dydd i mi, na gwên
Diriondeg hwyr a bore yn agosâu,
Na threm ar wanwyn mewn blodeuawg wrid,
Na rhosyn haf, na deadellau'r maes,
Na heidiau'r nen, na gwyneb dwyfol dyn;
Ond cwmwl tew a chaddug byth-barhaus
Sy'n cau o'm cylch, a didol fi o ffyrdd
Difyrus dynol ryw; yn llen llyfr cain
Gwybodaeth, rhoed i mi le hollol wag
O weithiau Anian, ag sydd oll i mi
Fel wedi eu croesi allan a'u dileu,
Ac un o byrth doethineb wedi ei gau."

Nid oes yr un gymhariaeth yn cael ei defnyddio yn amlach yn yr Ysgrythyrau, i osod allan gyflwr truenus dyn,

trwy bechod, na dallineb. Dywedir fod "Duw y byd hwn wedi dallu meddyliau y rhai digred, fel na thywynai iddynt lewyrch efengyl gogoniant Crist;" ac y mae Paul yn gweddio dros yr Ephesiaid, am iddynt fod "wedi goleuo llygaid eu meddyliau, &c." (2 Cor. iv. 4; Eph. 1. 18.) Fel nad yw y dall yn gweled goleuni a dysgleirdeb yr haul, pan y byddo yn tywynu o'i amgylch yn ei danbeidrwydd mwyaf, felly nid yw dyn wrth natur yn canfod gogoniant y Gwaredwr, nac ardderchowgrwydd pethau ysbrydol. Ni waeth i'r dall heb sefyll o flaen y drych; canys ni wel ei wyneb yn y drych goreu a chywiraf; a'r un modd, nid yw y dall ysbrydol yn gweled ei gyflwr, er darllen a gwrandaw gair Duw. Nid yw y dall yn gweled dwylaw y cyfeillion caredig sydd yn ei arwain, ac yn gweini iddo; ac felly hefyd, nid yw yr hwn sydd heb ei oleuo trwy ras, yn gweled llaw Duw yn ei oruchwyliaethau, &c. Rhodia y dall yn ddigyffro ar ymyl y dibyn erchyll, oherwydd ei fod heb weled y perygl; a'r un modd, y mae llawer pechadur yn hollol dawel ar fin uffern, a phan nad oes dim ond yr anadl sydd yn ei ffroenau rhyngddo a dinystr tragywyddol. Ond y mae gwahaniaeth pwysig rhwng dallineb naturiol a dallineb moesol. Anffawd i dosturio wrtho yw y naill; ond pechod i'w gondemnio yw y llall. Anghyfiawnder a chreulondeb annyoddefol fyddai cospi y dall naturiol, am ei ddallineb; ond y mae cyfiawnder yn gofyn am i hyny gael ei wneuthur â'r dall ysbrydol; oblegyd dallineb gwirfoddol yw yr eiddo ef.

2. *Yr oedd Bartimëus yn dlawd hefyd.* Eisteddai mewn garpiog, gwisg dan gysgod palmwydden, yn ochr y ffordd, â'i ffon yn un llaw, a'i het yn y llaw arall, i dderbyn elusen gan y rhai a elent heibio. Yr oedd yma, gan hyny, ddau beth annedwydd iawn wedi cyd-gyfarfod, sef tlodi a dallineb. Pe buasai yn ŵr bonheddig cyfoethog, yn byw mewn palas ardderchog, yn nghanol pob llawnder o ddoniau rhagluniaeth, ac yn ddall, buasai yn ddigon annifyr arno felly; ond yr oedd bod yn *gardotyn* dall yn gwneud ei

gyflwr yn llawer gwaeth. Yn hyn hefyd, yr ydoedd yn ddarlun cywir o bechadur: y mae yntau, nid yn unig yn ddall, ond hefyd yn dlawd;—heb ymborth, gwisg, na chysgod, i'w enaid anfarwol. Gall fod ganddo lawer o bethau y byd yma; ond y mae "heb Grist, heb obaith, ac heb Dduw yn y byd," ac nid yw bod heb fwyd, na dillad, nac arian, na chartref, na chyfeillion, yn ddim wrth hyn.

Edrychwch ar y cardotyn dall yn ochr y ffordd. Gynifer sydd yn myned heibio iddo, bob dydd, heb wneud sylw yn y byd o'i gais am elusen. Mae ambell fachgen direidus a dideimlad yn gwneud gwawd o hono, trwy fyned ato, a rhoddi careg fechan, yn lle ceiniog, yn ei het; ac yna rhed ymaith, dan chwerthin, wedi siomi a thwyllo y cardotyn dall druan. Felly y mae satan a phechod yn gwneud âg enaid dyn, yn ei angen a'i dlodi: y maent yn rhoddi *rhywbeth* iddo; ond nid yr hyn sydd arno ei eisieu, na'r hyn a wna les sylweddol iddo. Ond y mae yn resynus meddwl, fod miloedd heb deimlo eu dallineb a'u tlodi ysbrydol. Y mae llawer pechadur yn barod i ddweyd, fel eglwys y Laodiceaid, "Goludog wyf, ac mi a gyfoethogais, ac nid oes arnaf eisieu dim; ac ni ŵyr ei fod yn druan, ac yn resynol, ac yn dlawd, ac yn ddall, ac yn noeth." (Dat. iii. 17.)

II. Y CYFLEUSDRA GWERTHFAWR A GAFODD I GEISIO EI OLWG.

1. *Y mae yn clywed fod yr Iesu yn myned heibio iddo.* Pan eisteddai wrtho ei hun, ryw ddiwrnod, mewn dwys fyfyrdod, yn ochr y ffordd, clywai swn tyrfa fawr yn dynesu tuag ato, a rhyfeddai beth a allai yr orymdaith fod: "*A phan glybu efe y dyrfa yn myned heibio, efe a ofynodd beth oedd hyn. A hwy a ddywedasant iddo, Mai Iesu o Nazareth oedd yn myned heibio.*" Y fath newydd gwerthfawr i Bartimëus, oedd clywed fod y Proffwyd mawr o Nazareth, y clywsai gymaint o son am ei weithredoedd nerthol, yn awr yn ei ymyl. Mor fanteisiol oedd hyn iddo i geisio ei olwg. Buasai yn werth iddo gymeryd y drafferth o fyned yn mhell, os gallasai gael rhywun i'w arwain, i chwilio am y Gwaredwr; ond nid oedd eisieu iddo wneuthur hyny, canys

wele yr Iesu wedi dyfod i'w ymyl. Y mae genym ninau gyfleusdra cyffelyb i geisio iechydwriaeth. Y mae llawer yn barod i feddwl, pe buasai y Gwaredwr ar y ddaear, yn awr, yr aethent hwythau ato. Ond y *mae* efe ar y ddaear, ac yn myned heibio i ninau, yn y gair a'r ordinhadau, &c. "Canys lle mae dau neu dri," meddai, "wedi ymgynnull yn fy enw i, yno yr ydwyf yn eu canol hwynt." (Math. xviii. 20.) Mae yn wir nad ydym ni yn gallu ei weled; ond nid oedd Bartimëus chwaith yn ei weled, mwy na ninau, pan y llefodd arno am drugaredd.

2. *Y mae yn clywed fod yr Iesu yn galw arno.* "*A hwy a alwasant y dall, gan ddywedyd wrtho, Cymer galon; cyfod: y mae efe yn dy alw di.*" Y fath galondid a chysur iddo oedd hyn! Ond y mae genym ninau yr un calondid a chefnogaeth i fyned ato; canys y mae yn ein galw, ac yn ein gwahodd ninau: "Deuwch yr awrhon, ac ymresymwn, medd yr Arglwydd: pe byddai eich pechodau fel ysgarlad, ânt cyn wyned â'r eira; pe cochent fel porphor byddant fel gwlan." "Deuwch ataf fi bawb a'r y sydd yn flinderog ac yn llwythog, a mi a esmwythâf arnoch, &c." (Esaiah i. 18; Math. xi. 28—30.) O! na bae pechaduriaid mor barod ag oedd y dall yn ymyl Jericho i dderbyn y gwahoddiad.

III. Y DEFNYDD PRIODOL A WNAETH BARTIMEUS O'R CYFLEUSDRA PWYSIG A GWERTHFAWR HWN.

1. Dechreuodd lefain *yn ddioed* am drugaredd: "*A phan glybu mai yr Iesu o Nazareth ydoedd, efe a ddechreuodd lefain, a dywedyd, Iesu, Mab Dafydd, trugarhâ wrthyf.*" Nid yw yn gohirio ei gais, am fod yr Iesu yn awr ar ei daith, gan obeithio y deuai i Jericho yn fuan drachefn, ac y byddai ganddo fwy o hamdden i sylwi arno ef y pryd hwnw. Na, y mae yn dal ar y cyfleusdra presenol, a bu yn dda iddo wneud hyny; canys pe buasai yn gadael i'r cyfleusdra hwn lithro o'i afael heb ei ddefnyddio, aethai i'w fedd yn gardotyn dall; oblegyd ni bu yr Iesu byth yn Jericho ar ol hyn. Y mae o bwys i ninau, fel Bartimeus, ddal ar yr adeg; canys yr ydym mewn perygl o golli y cyfleusdra am

byth i geisio trugaredd. "Ceisiwch yr Arglwydd, tra y galler ei gael ef; gelwch arno tra fyddo yn agos." (Esaiah lv. 6.)

2. *Llefodd gyda ffydd gref.* Credai fod yr Iesu yn alluog i agoryd ei lygaid. Dïau ei fod wedi clywed son am dano yn rhoddi ei olwg i'r dall yn Jerusalem (Ioan ix.), ac eraill; ac y mae yn debyg ei fod wedi clywed am dano yn adgyfodi Lazarus, yn ddiweddar; canys yr oedd llawer o dramwy o Jerusalem i Jericho, trwy Bethania. Y mae ei weddi yn dangos hefyd ei fod yn edrych ar yr Iesu yn fwy na phroffwyd, wedi ei gynysgaeddu â doniau gwyrthiol. Mae y dyrfa yn dweyd wrth y dall mai "Iesu o Nazareth" oedd yn myned heibio,—dyna yr enw a roddai y bobl arno; ond y mae efe yn ei gyfarch wrth enw llawer mwy urddasol, ac anrhydeddus, ac wrth un o deitlau y Messiah, sef, "Mab Dafydd." Mae yn amlwg, gan hyny, ei fod yn credu mai yr Iesu oedd y Crist; ac yr oedd ganddo ffydd gref yn ei ddwyfol allu a'i dosturi; ond nid oedd ganddo yr un addewid bendant y cai efe ei olwg, ond gofyn am dano, yn sail i'w ffydd. Eithr y mae genym ni addewidion lawer am iechydwriaeth. "Gofynwch, a rhoddir i chwi; &c." (Luc xi. 9—13.)

3. *Daliodd i lefain yn daerach yn ngwyneb digalondid.* "A'r rhai oedd yn myned o'r blaen a'i ceryddasant ef i dewi: *eithr efe a lefodd yn fwy o lawer,* Mab Dafydd, trugarhâ wrthyf." Mae yn anhawdd gwybod pa beth oedd yn cymhell y rhai hyn i geisio gan y dall fod yn ddystaw. Fe allai mai gelynion Crist oeddynt, a'u bod yn anfoddlawn i Bartimëus ei alw yn Fab Dafydd; neu ynte, fe ddichon eu bod yn meddwl fod gwaith cardotyn dall yn llefain ar ei ol, yn peri blinder i'r Iesu; neu ynte, yr oedd efe yn dysgu y bobl wrth gyd-gerdded â hwynt, ac yr oedd y rhai hyn yn anfoddlawn i'r cardotyn ei aflonyddu, pan ydoedd ar ganol ymddyddan yn nghylch rhyw fater o bwys. Ond beth bynag oedd eu hamcan, ni chymerai Bartimëus ei ddystewi na'i ddigaloni ganddynt. Gwyddai y medrai yr Iesu roddi ei olwg iddo, a theimlai ei fod mewn perygl o golli y cyfleusdra

am byth; ac am hyny, yn lle tewi, efe a lefodd yn fwy o lawer. Yr oedd ei ffydd fel yr afon yn croni, ac yn ymgryfhâu, yn ngwyneb y gwrthgloddiau a godir ar ei ffordd, ac yna yn llifo yn mlaen gyda mwy o rym, gan ysgubo ymaith bob rhwystr ac atalfa. Mae yn rhaid i bob pechadur dori trwy wrthwynebiadau wrth ddyfod at y Gwaredwr. Dichon y bydd perthynasau a chyfeillion yn gwgu, ac yn anfoddloni, os cynygia ymuno â phobl Dduw. Fe allai y ceisia athronwyr anffyddol ei argyhoeddi mai oferedd yw gweddio; ac y mae yn bosibl y bydd llawer o bethau yn ymddygiadau canlynwyr proffesedig Crist yn tueddu i'w ddigaloni. Ond ein dyledswydd, yn ngwyneb pob gwrthwynebiadau yw dilyn esiampl Bartimëus, trwy barhâu i lefain yn fwy taer a phenderfynol am drugaredd. "Ac efe a ddywedodd hefyd ddameg wrthynt, fod yn rhaid gweddio yn wastad ac heb ddiffygio; &c." (Luc xviii. 1—8.)

4. *Ymadawodd â'r hyn oedd yn tueddu i'w faglu, a'i rwystro i ddyfod gyda brys at yr Iesu:* "Ond efe, *wedi taflu ei gochl ymaith*, a gyfododd, ac a ddaeth at yr Iesu." Rhyw hen fantell oedd ganddo drosto, i gadw ei hun rhag y tywydd oedd hon. Wedi clywed fod yr Iesu yn ei alw, y mae yn neidio i fynu, gyda llawenydd annhraethadwy; ac yn taflu ei hen gochl o'r neilldu, fel y gallai ddyfod at y Gwaredwr gyda mwy o frys a rhwyddineb. Y mae eisieu i ninau "roddi heibio bob pwys, a'r pechod sydd barod i'n hamgylchu" (Heb. xii. 1.); a thaflu ymaith, yn enwedig, yr hen wisg o hunan-gyfiawnder, fel y gwnaeth Paul: "Eithr y pethau oedd elw i mi, y rhai hyny a gyfrifais i yn golled er mwyn Crist." (Phil. iii. 7.)

IV. Llwyddiant ei weddi.

1. *Enillodd sylw yr Iesu:* "Ar Iesu a *safodd*." Mae genym hanes i'r haul naturiol sefyll unwaith, mewn atebiad i weddi Josuah, ac yma wele Haul Cyfiawnder yn sefyll, â meddyginiaeth yn ei esgyll, mewn atebiad i weddi Bartimëus. Pa bryd y gwelwyd unrhyw frenin daearol yn sefyll i gymeryd sylw o gŵyn cardotyn dall yn ochr y ffordd;

ond wele "Dywysog brenhinoedd y ddaear," a gwrthddrych addoliad holl angelion y nef, yn gwneud hyny yma. Yr oedd yr Iesu yn awr ar ei daith ddiweddaf i Jerusalem, i ddyoddef a marw, ac yr oedd efe yn rhagweled yr holl ddyoddefaint arswydus y byddai yn rhaid iddo fyned trwyddo, o hyny i ben yr wythnos. Gallesid dysgwyl, gan hyny, y buasai ei feddwl, ar y daith hon, wedi ei lyncu i fynu yn gymaint gan ei ddyoddefiadau ei hun, a'r gwaith aruthrol oedd ganddo i'w gyflawni, yn Jerusalem, fel na buasai yn cymeryd hamdden i sylwi ar neb na dim arall. Ond yn lle hyny, wele lef cardotyn dall yn peri iddo sefyll. Nid oes perygl iddo un amser fod yn rhy brysur, gyda rhyw orchwylion pwysig eraill, i wrando gweddi. Pe byddai ar ganol creu cyfundrefn o fydoedd newyddion, gadawai y gwaith aruthrol hwnw ar ei haner, pe byddai raid, i ddyfod i ymgeleddu pechadur fyddai yn llefain arno am drugaredd. "Efe a edrych ar weddi y gwael, ac ni ddiystyrodd eu dymuniad." (Salm cii. 17.)

2. *Gorchymynodd yr Iesu i'r rhai oedd yn gweled arwain y dall ato:* "A'r Iesu a safodd, *ac a orchymynodd ei ddwyn ef ato.*" Yr oedd hyn yn dangos fod y Gwaredwr yn bwriadu trugarhâu wrtho. Nid yw yr Iesu yn gorchymyn i neb o'r dyrfa geisio agoryd llygaid y dall; canys gwyddai yn dda nad oedd neb o honynt a allai wneuthur hyny; ond y mae yn gorchymyn iddynt roddi y cynorthwy oedd yn eu gallu iddo, drwy ei dywys at yr hwn a fedrai agoryd ei lygaid. Nid ydoedd am adael i'r dall druan ymbalfalu am dano yn y dyrfa. A'r un modd eto, y mae efe yn dysgwyl, i'r rhai sydd wedi eu goleuo yn ysbrydol, wneud eu goreu i arwain y rhai sydd mewn tywyllwch, ac yn enwedig y rhai sydd dan argyhoeddiad, ato. Wedi i Andreas a Phylip gael adnabyddiaeth o Grist eu hunain, y mae y naill yn ddioed yn ymdrechu dwyn ei *frawd*, Simon, a'r llall ei *gymydog* a'i *gyfaill*, Nathanäel, ato; ac y maent yn hyn yn esiampl i ninau. (Ioan i. 40—45.)

3. *Y mae yr Iesu yn ei galonogi i ofyn y peth a fynai:* "A

phan ddaeth efe yn agos, efe a ofynodd iddo, gan ddywedyd, *Pa beth a fynni di i mi ei wneuthur i ti?"* Pa un ai rhoddi i ti elusen, meddyginiaeth, neu ynte, rywbeth arall? Mae Crist yn gofyn hyn, nid oherwydd na wyddai, ond i arwyddo ei fod am i ddynion wneud eu deisyfiadau yn hysbys ger ei fron, a gofyn am ryw fendith *neillduol* wrth weddio yn lle bod yn ddibwynt yn eu gweddiau fel y mae llawer ysywaeth; os mynwn weddio i bwrpas rhaid fod genym rywbeth arbenig i weddio am dano. Y mae yr Iesu yn gofyn hyn hefyd i ddangos ei fod ef yn alluog ac yn ewyllysgar i wneuthur pa beth bynag oedd ar y dall ei eisieu. "Os arhoswch ynof fi, ac aros o'm geiriau ynoch, beth bynag a ewyllysioch, gofynwch, ac efe a fydd i chwi." (Ioan xv. 7.)

4. *Y mae yn cael y fendith a ddymunai:* "A'r Iesu a ddywedodd wrtho, Cymer dy olwg: dy ffydd a'th iachâodd. *Ac allan o law y cafodd efe ei olwg, &c.*" Dywed Mathew i'r Iesu, wrth ddweyd y gair, gyffwrdd hefyd â llygaid y dall, ac ar hyny, y mae yn ddioed yn dyfod i weled yn eglur. O! foment fythgofiadwy! Pwy a all ddesgrifio ei syndod a'i llawenydd? Yr oedd hyn yn ddarlun cywir o'r cyfnewidiad grasol a wneir, gan Ysbryd Duw, ar enaid pechadur, yn yr adenedigaeth: "Wedi goleuo llygaid eich meddyliau, &c." "Canys yr oeddych chwi gynt yn dywyllwch, ond yr awrhon goleuni ydych yn yr Arglwydd: &c." (Eph. i. 18; v. 8.)

Nis gallasai goleuni yr haul, pan yn tywynu yn ei danbeidrwydd mwyaf, ddwyn Bartimeus i weled; a'r un modd, nis gall y gwirionedd o hono ei hun, heb weithrediadau Ysbryd Duw, ar y meddwl, byth ddwyn pechadur i weled ei euogrwydd a'i drueni, ac addasrwydd a gogoniant Crist fel Gwaredwr. Yr oedd Bartimëus mor ddall haner dydd â haner nos. Ac felly, dall fydd pechadur yn nghanol goleuni dysglaer efengyl, gystal ag yn nhywyllwch caddugawl paganiaeth, heb i Dduw ei hun, o'i ras, ei oleuo.

V. Effeithiau a chanlyniadau y wyrth.

1. *Ei heffeithiau ar Bartimëus ei hun.* (1.) Mae ei lygaid

yn gweled yr Iesu. Y gwrthddrych cyntaf a welodd, ar ol cael ei olwg, oedd y gŵr a agorodd ei lygaid; ac o bawb a phobpeth o'i amgylch, efe oedd yn tynu mwyaf o'i sylw. Nis gallwn ni ei weled yn bresenol yn yr ystyr yma; ond y mae yn bosibl i ninau ei weled â llygad ffydd; ac y mae rhyw ddylanwad rhyfedd a bendigedig yn cyd-fyned â'r gweled hwnw: "Hwy a edrychant arnaf fi yr hwn a wanasant, &c." "Eithr nyni oll âg wyneb agored, yn edrych ar ogoniant yr Arglwydd megys mewn drych, a newidir i'r unrhyw ddelw, &c." (Zech. xii. 10; 2 Cor. iii. 18.) (2.) Mae ei draed yn canlyn yr Iesu. "*Ac efe a ddilynodd yr Iesu ar hyd y ffordd,*" i ddangos ei ymlyniad wrtho, a'i ddiolchgarwch iddo, &c. Ein dyledswydd ninau yw ymdrechu gwneud yr un modd, trwy ganlyn esiampl Crist, ac ufuddhâu i'w orchymynion. Dyma un o'r nodau sydd ar ei bobl. Fel y dywedai un o'r hen bregethwyr, y mae dau nod ar holl ddefaid y Bugail da, sef nod clust, a nod troed: "Mae fy nefaid i yn gwrando fy llais i; a hwy a'm canlynant i." (Ioan x. 27.) (3.) Y mae ei dafod yn moliannu yr Arglwydd: "*gan ogoneddu Duw.*" Mae pawb yn teimlo fod yn rhesymol i Bartimëus ddiolch, ar ol cael y fath drugaredd; ond y mae yn gweddu i ni ystyried fod arnom ni fwy o rwymau i ddiolch, am na buom erioed yn ddeillion. Ac os ydym wedi ein goleuo yn ysbrydol, gofalwn am ddilyn esiampl hwn, trwy "fynegi rhinweddau yr hwn a'n galwodd allan o dywyllwch i'w ryfeddol oleuni ef." (1 Pedr ii. 9.)

2. *Ei heffeithiau ar y bobl:* "A'r holl bobl pan welsant a roisant foliant i Dduw," am anfon y Messiah i'w plith. Os cafodd un wyrth fel hyn, o eiddo y Gwaredwr y fath ddylanwad ar yr edrychwyr, beth am y synu a'r clodfori, pan welir gwaith ei ras ar ei holl bobl yn y dydd diweddaf, "pan ddel efe i'w ogoneddu yn ei saint, ac i fod yn rhyfeddol yn y rhai oll sydd yn credu?" (2 Thes. i. 10.)

# XXXI.

## CRINO Y FFIGYSBREN.

"*Ac efe a'u gadawodd hwynt, ac a aeth allan o'r ddinas i Bethania, ac a letyodd yno. A'r bore, fel yr oedd efe yn dychwelyd i'r ddinas, yr oedd arno chwant bwyd. A phan welodd efe ffigysbren ar y ffordd, efe a ddaeth ato, ac ni chafodd ddim arno, ond dail yn unig: ac efe a ddywedodd wrtho, Na thyfed ffrwyth arnat byth mwyach. Ac yn ebrwydd y crinodd y ffigysbren, &c.*"

"*Ac wedi iddo ganfod o hirbell ffigysbren ag arno ddail, efe a aeth i edrych a gaffai ddim arno. A phan ddaeth ato, ni chafodd efe ddim ond y dail: canys nid oedd amser ffigys, &c.*"—MATH. xxi. 17—20; MARC xi. 12—14; 20—22.

CYFLAWNWYD y wyrth hon, gan ein bendigedig Waredwr, bore y dydd Llun cyn iddo ddyoddef a marw. Y dydd o'r blaen yr ydym yn ei gael yn marchogaeth i Jerusalem, nid mewn cerbyd ardderchog, nac ar farch rhyfel porthianus, ond ar ebol llwdn asen. Yr oedd hi yn brydnawn teg yn y gwanwyn, ac yr oedd golwg swynol a hyfryd ar wlad Judea y diwrnod hwnw. Llenwid y ffyrdd gan finteioedd lliosog, yn cyrchu tua'r ddinas sanctaidd, i ŵyl y Pasg. Yr oedd tyrfa fawr wedi canlyn Crist o Jericho, a llawer o'r rhai a ddaethent i Jerusalem i'r ŵyl wedi dyfod allan i'w gyfarfod. Meddylient ei fod yn awr yn myned i gyhoeddi ei hun yn dywysog tymhorol. Dangosai rhai o honynt eu parch iddo, trwy daenu eu dillad ar hyd y ffordd, fel llawr-leni iddo i farchogaeth arnynt. Taenai craill flodau a changhenau o goed bythol-wyrdd ar hyd y ffordd, o'i flaen. A phan oeddynt yn nesâu at ddisgynfa mynydd yr Olewydd, y mae yr holl dyrfa yn dechreu llawen-floeddio, nes rhwygo yr awyr gan foliant Duw. Trwy droad sydyn yn y ffordd, y mae yr holl ddinas yn dyfod i'r golwg ar unwaith. Ymledai o flaen llygaid yr Iesu, yr ochr arall i ddyffryn Jehosaphat, fel *panorama* ardderchog; ac yr oedd

yr olwg arni y pryd hwnw, yn ei gwychder a'i gogoniant, yn wir fawreddog. Ond "pan welodd efe y ddinas, efe a wylodd drosti," wrth ragweled y dinystr arswydlawn oedd i ddyfod arni, am ei wrthod ef, a'i groeshoelio. Aeth i mewn i Jerusalem ac i'r deml: "ac wedi iddo edrych ar bob peth o'i amgylch, a hi weithian yn hwyr, efe a aeth allan i Bethania gyda'r deuddeg." Y mae yn sicr iddo, oherwydd rhyw resymau, gychwyn o Bethania bore dranoeth heb ei frecwest, pe amgen ni buasai arno chwant bwyd ar y ffordd, gan nad oedd y pellder o Bethania i Jerusalem, ond oddeutu dwy filltir. Y mae yn anhawdd gwybod beth oedd yr achos iddo gychwyn felly. Y mae yn wir fod ei feddwl yn gymaint ar ei waith, fel y darfu iddo gychwyn yn fore, ond y mae yn sicr y buasai Mair a Martha yn barod i godi mor fore ag y mynid i barotoi boreufwyd iddo. Ond y mae yn bosibl iddo ddewis ymprydio, er mwyn cael achlysur i gyflawni y wyrth hon; neu, fe allai, iddo fyned allan yn ddistaw, cyn i neb o'r teulu godi, i ryw le anghyfanedd i weddio (Marc i. 35), ac nad aeth yn ol y bore hwnw i dŷ ei hoff gyfeillion, ond iddo fyned yn syth o'r fan hono i'r ddinas; neu ynte, fe ddichon na bu yn eu tŷ o gwbl y noswaith hono, ond iddo dreulio y nos allan, yn mhlith y coed Olewydd, fel ar achlysuron eraill, er mwyn cael cyfleusdra i weddio. (Luc vi. 12.) Modd bynag, yr oedd "arno chwant bwyd," wrth ddychwelyd i'r ddinas, yr hyn a ddengys yn amlwg ei fod yn wir ddyn, "yr un ffunud a ninau, ond ei fod heb bechod." Yr ydym yn darllen am dano yn gwneud gwyrthiau i borthi eraill; ond ni byddai byth yn defnyddio ei allu gwyrthiol i wasanaethu i'w anghenion ei hun. Yr ydoedd yn eithaf boddlawn i wneud ei frecwest ar ychydig o ffigys oerion; ac felly "*wedi iddo ganfod o hirbell ffigysbren ag arno ddail, efe a aeth i edrych a gaffai ddim arno.*" Gan ei fod yn Hollwybodol, y mae yn sicr y gwyddai nad oedd dim ond dail yn unig ar y pren hwn; ond rhaid i ni gofio ei fod yn gweithredu yma fel dyn; ac heblaw hyny, yr oedd yn angenrheidiol iddo ymddwyn fel

un yn dysgwyl cael ffrwyth arno, am fod y wyrth hon yn cael ei bwriadu ganddo i ddangos beth fydd tynged y rhai y mae Duw yn dyfod atynt i geisio ffrwythau cyfiawnder, ac heb gael dim arnynt ond dail proffes yn unig. Ond gall ymddangos yn dra rhyfedd i lawer, fod yr Iesu yn ceisio ffrwyth ar y pren, pan "*nad oedd amser ffigys.*" Ni byddai y ffigys yn gyffredin yn dyfod yn aeddfed hyd ganol Mehefin; ond nid oedd hi eto ond tua dechreu Ebrill. Ond byddai ambell ffigysbren yn ffrwytho wythnosau yn gynarach nag eraill; ac y mae yn ymddangos fod hwn yn tyfu mewn lle cynes a chysgodol. Yr oedd y ffigysbren hefyd yn arfer ffrwytho *cyn* blaguro; ac felly byddai y ffrwyth yn ymddangos arno *o flaen* y dail. Felly, gan fod y ffigysbren hwn mor ddeiliog, yr oedd yn naturiol dysgwyl ffrwyth arno; a chan fod amser casglu ffigys heb ddyfod, yr oedd yn sicr y buasent ar y pren, os ydoedd wedi dwyn ffrwyth y tymhor hwnw. Fel hyn, nid oedd dim yn annaturiol yn ngwaith yr Iesu yn ceisio ffrwyth ar y ffigysbren hwn, er "nad oedd amser ffigys," gan fod arno gymaint o ddail. Ond "*ni chafodd ddim arno ond dail yn unig.*" Trwy ddeilio mor gynar, yr ydoedd megys yn proffesu ac yn ymffrostio ei fod yn well na'r coed eraill o'i amgylch; a thrwy ei ymddangosiad teg a golygus, addawai ffrwyth toreithiog a danteithiol i bwy bynag a ddeuai ato. Ond pren siomedig a thwyllodrus ydoedd. Ac am hyny, yn hytrach nag am ei ddiffrwythdra, y melldithiwyd ef. Yr oedd y coed eraill o'i amgylch yn ddiffrwyth, fel yntau, ond ni felldithiwyd hwynt, a hyny am eu bod yn ddiddail, gystal ag yn ddiffrwyth; ac felly nid oeddynt yn twyllo neb i feddwl fod ffrwyth arnynt. Ond y mae Crist yn myned at hwn, ac yn ei felldithio, gan ddywedyd, "*Na thyfed ffrwyth arnat byth mwyach.*" Parodd y gair, ond odid, i ryw ddirgrynfa gerdded fel trydan mewn eiliad trwy holl ddail a changhenau y pren, ac yn ddioed y mae ei nôdd yn sychu i fynu, a'i ddail gleision yn cochi, yn gwywo, ac yn syrthio ymaith. "*Ac yn ebrwydd y crinodd y ffigysbren*" Y fath ddylanwad

sydd yn ngair Crist! Mor ofnadwy yw bod dan ei felldithion! Ni sylwodd y dysgyblion ar y ffigysbren wrth fyned yn ol i Bethania, y noswaith hono, a hyny mae yn debygol, am ei bod hi yn dywyll pan oeddynt yn myned heibio iddo; ond wrth ddychwelyd i'r ddinas, bore ddydd Mawrth, y maent yn cael eu taro â syndod wrth ei weled wedi crino o'r gwraidd. "*A'r bore, wrth fyned heibio, hwy a welsant y ffigysbren wedi crino o'r gwraidd, &c.*" Yr oedd gan yr Arglwydd Iesu yr un hawl i ddinystrio y ffigysbren hwn â'i air, ag a fuasai ganddo i wneuthur hyny trwy ei daro â mellten, ac felly nid oedd gan ei berchenog un sail i rwgnach ac achwyn fod yr Iesu yn gwneud cam âg ef.

Gwyrthiau o drugaredd oedd holl wyrthiau y Gwaredwr, ond hon. Dyma yr unig wyrth a wnaeth erioed i ddinystrio. Nid efe, ond y diafol, a ddinystriodd y môch yn Gadarenia; ni wnaeth efe ond *goddef* yn unig i hyny gymeryd lle. Mae genym hanes am rai o'r proffwydi yn gwneud gwyrthiau i daro dynion â dinystr dychrynllyd; ond pan oedd ar Grist eisieu rhoddi un amlygiad effeithiol o'i allu i ddinystrio, nid ar neb o'i elynion, ond ar wrthddrych analluog i deimlo, sef ar goeden ddiffrwyth yn ochr y ffordd, y disgynodd y felldith.

Nid ydym i feddwl iddo wneuthur hyn oddiar unrhyw lid, neu nwyd, tuag at y pren, na'i fod yn teimlo yn ddig am na chawsai ffrwyth arno i dori ei angen. Hawdd fuasai iddo ef, yr hwn a drodd y dwfr yn win, droi y dail yma hefyd yn ffigys. Ond ei arfer oedd dysgu trwy weithredoedd arwyddocâol, yn gystal â thrwy eiriau. Yr oedd ei wyrthiau eraill yn arwyddion o'i allu i fendithio a gwaredu. Ond gan ei fod ef yn Farnwr, yn gystal â Gwaredwr, yr oedd yn iawn iddo roddi un amlygiad o'i allu i gospi y diffrwyth a'r rhagrithiol. Fel yr oedd bywyd oen diniwed yn cael ei aberthu bob dydd, dan yr hen oruchwyliaeth, i ddysgu rhyw wirioneddau ysbrydol i ddynion, felly y mae bywyd y pren yma yn cael ei aberthu, i rag-ddangos y farn oedd i ddisgyn ar y genedl Iuddewig, ac ar bob proffeswr diffrwyth yn mhob man.

Yr oedd y ffigysbren yma yn arwyddlun cywir iawn o'r genedl. Y mae Crist, yn un o'i ddamhegion, yn ei chymharu i ffigysbren diffrwyth: "Wele, tair blynedd yr ydwyf yn dyfod gan geisio ffrwyth ar y ffigysbren hwn; ac nid ydwyf yn cael dim: &c." (Luc xiii. 6—9.) Yr oedd y ffigysbren yma, ar y ffordd, yn tyfu mewn lle manteisiol iawn i ddwyn ffrwyth; canys yr oedd y tir, a'r hinsawdd, yn y gymydogaeth hono yn nodedig o ffafriol i goed o'r fath. Ond er fod y pren hwn yn tyfu mewn pantle ffrwythlawn a chysgodol, ar lethrau mynydd yr Olewydd; ac wedi derbyn gwlith y nef, a phelydrau yr haul, yr oedd y cwbl wedi bod yn aneffeithiol i beri iddo ddwyn ffrwyth. A'r un modd, am y genedl, yr oedd hithau wedi mwynhâu y breintiau mwyaf (Esaiah v. 1—4); ond yr oedd hi wedi "derbyn gras Duw yn ofer." Nid oedd ganddi ond ymddangosiad allanol o sancteiddrwydd a daioni. Yr oedd yr Iuddewon yn *ymddangos* yn grefyddol iawn. Yr oeddynt yn mhlith cenhedloedd eraill y byd, fel y ffigysbren deiliog yma yn nghanol y coed diddail oedd o'i amgylch. Rhagorent ar eraill o ran eu proffes a'u golwg allanol; ond nid oedd ganddynt ond "rhith duwioldeb, ac wedi gwadu ei grym hi." Ond dangosid yn y wyrth yma na wnai eu proffes ddiffrwyth ond tynu barn a melldith drymach arnynt. Y felldith a ddisgynodd ar y pren yma oedd diffrwythdra parhâus; "*Na thyfed ffrwyth arnat byth mwyach.*" Nid gair Crist a'i gwnaeth yn ddiffrwyth, canys yr ydoedd felly eisoes; ond y mae ei air ef yn selio ei barhâd yn ei ddiffrwythdra. Gwelwn yma ddarluniad o'r farn ddychrynllyd a ddisgynodd ar yr Iuddewon, ac sydd yn disgyn ar ddynion eto, oblegyd eu rhagrith, a'u diffrwythdra, sef cael eu rhoddi i fynu i galongaledwch, ac anghrediniaeth. Y canlyniad yw fod eu proffes grefyddol yn gwywo, a phobpeth oedd yn ddymunol i'w weled arnynt yn diflanu fel dail y ffigysbren yma. Y mae rhywbeth yn ofnadwy yn ngeiriau yr Ysgrythyr ar y mater hwn. Dangosant fod dynion, oherwydd camddefnyddio eu breintiau, a pharhâu yn eu hanghrediniaeth, yn cael eu

rhoddi i fynu gan Ysbryd Duw, fel y maent yn myned i gyflwr ag y mae anmhosiblrwydd moesol iddynt i edifarhâu a dychwelyd: "Am hyny *ni allent gredu*, oblegyd dywedyd o Esaias drachefn, Efe a ddallodd eu llygaid, ac a galedodd eu calon; fel na welent â'u llygaid, a deall â'u calon, ac ymchwelyd o honynt, ac i mi eu hiachâu hwynt." (Ioan xii. 39, 40.) Nid yw y cystuddiau tymhorol trymaf yn ddim wrth y farn arswydus a dychrynllyd hon. Os ydym am fod yn ddyogel rhagddi, gochelwn fod yn debyg i'r pren yma, heb ddim ond dail yn unig; ond ymofynwn am fod "wedi ein cyflawni â ffrwythau cyfiawnder, y rhai sydd trwy Iesu Grist, er gogoniant a moliant i Dduw." (Phil. i. 11.) "Gwyn ei fyd y gwr sydd â'i ewyllys yn nghyfraith yr Arglwydd; ac yn myfyrio yn ei gyfraith ef ddydd a nos. Efe a fydd fel pren wedi ei blanu ar làn afonydd dyfroedd, yr hwn a rydd ei ffrwyth yn ei bryd; a'i ddalen ni wywa, a pha beth bynag a wnel. efe a lwydda." (Salm. i. 2, 3.)

## XXXII.

## IACHAU CLUST MALCHUS.

"*A rhyw un o honynt a darawodd was yr arch-offeiriad, ac a dorodd ymaith ei glust ddehau ef. A'r Iesu a atebodd ac a ddywedodd, Goddefwch hyd yn hyn. Ac efe a gyffyrddodd â'i glust, ac a'i hiachodd ef.*"—Luc xxii. 50. 51.

Mae pob un o'r pedwar Efengylwr yn crybwyll i un o ddysgyblion yr Iesu dynu ei gleddyf, yn Gethsemane, a thori clust gwas yr arch-offeiriad; ond "Luc y physygwr anwyl," yn unig, sydd yn dweyd i'r Gwaredwr gyffwrdd â'r glust a'i hiachâu. Yr oedd yn naturiol iawn i feddyg son am wyrth o'r natur yma; ac heblaw hyny, y mae Luc yn rhoddi arbenigrwydd neillduol yn ei Efengyl i'r gweithredoedd sydd yn datguddio tosturi a thrugaredd yr Arglwydd Iesu yn fwyaf amlwg; ac yn sicr, nid oes yr un o'i wyrthiau yn dangos hyny yn eglurach na'r un a gofnodir yma, yn yr hon yr ydym yn ei weled yn iachâu un oedd dan arfau yn erbyn ei fywyd.*

Gallasem gasglu mai Petr oedd y dysgybl a dynodd ei gleddyf, ac a dorodd glust gwas yr arch-offeiriad; ond nid oes yr un o'r tri Efengylwr cyntaf yn ei enwi; a hyny, fel y tybia rhai, rhag ei osod mewn perygl o gael ei erlyn am y weithred fyrbwyll hon. Ond gan fod Petr, fel y mae yn debygol, wedi marw, pan oedd Ioan yn ysgrifenu ei Efengyl, y mae efe yn ei enwi, wrth adrodd yr hanes. (Ioan xviii. 10.) Y mae efe hefyd yn hysbysu enw y gwas y torwyd ei glust; oblegyd yr oedd efe yn gydnabyddus yn llys yr arch-offeiriad, ac yn gyfarwydd, nid yn unig â Malchus ei hun, ond hefyd â'i berthynasau. (Ioan xviii. 15, 16, 26.)

Yr ydym yn darllen fod gan y dysgyblion ddau gleddyf rhyngddynt (Luc xxii. 38.), i amddiffyn eu hunain rhag yr

* Gwel Trench ar y Wyrth hon.

ysbeilwyr llofruddiog oeddynt yn gwneuthur y ffyrdd yn Palestina mor beryglus i'w teithio (Luc x. 30.); a phan welsant y milwyr arfog yn dodi eu dwylaw halogedig ar y Gwaredwr, i'w ddal a'i rwymo, hwy a ofynasant iddo, "*Arglwydd, a darawn ni â chleddyf?*" Ond yr oedd Petr mewn gormod o frys i aros am atebiad, ac felly y mae yn mhoethder ei sêl a'i fyrbwylldra arferol, yn tynu ei gleddyf ac yn tori clust ddehau gwas yr arch-offeiriad. Hwn, ond odid, oedd y mwyaf prysur a blaenllaw yn yr ysgelerwaith o ddal yr Iesu. Mae yn debyg mai tori ei ben ef oedd amcan Petr, ond iddo, trwy gyfryngiad rhagluniaeth, fethu gwneud dim rhagor o niwed iddo na thori ei glust. Y mae yn rhyfedd, fel y sylwa yr Esgob Hall, na buasai yr apostol yn defnyddio ei gleddyf yn hytrach i daro Judas, y bradwr rhagrithiol. Ond fe allai fod Petr eto heb lawn amgyffred trosedd erchyll yr Iscariot; neu ynte, fod y bradwr, ar ol rhoddi yr arwydd i'r fyddin a'r swyddogion, wedi prysuro, yn ei euogrwydd a'i gywilydd, i ymguddio o dan fantelli y tywyllwch, yn mysg llwyni yr ardd; neu yn nghanol y dyrfa. Yr oedd gwaith Petr yn tynu ei gleddyf yn dangos ei wroldeb, a'i barodrwydd i farw dros ei Arglwydd, os byddai raid; ond yr oedd y weithred, er hyny, yn un dra byrbwyll a beius. Yr oedd ganddo sêl, ond nid yn ol gwybodaeth, ac y mae sêl heb wybodaeth, fel pylor yn llaw plentyn,—yn beth tra pheryglus.

Mae yn ymddangos braidd yn rhyfedd, ar yr olwg gyntaf, na buasai y weithred hon yn cyffroi llid y milwyr, nes peri iddynt ruthro ar y dysgyblion, a'u lladd oll gyda'u gilydd yn y fan. Ond y mae yn ddïau mai yr achos na wnaethant hyny oedd, i'r Arglwydd Iesu, trwy ei allu dwyfol, lywodraethu eu meddyliau, a'u hatal i ymddïal.

Y mae yr Iesu yn ceryddu sêl annoeth Petr; ac yn gorchymyn iddo ddodi ei gleddyf yn y wain. Yr oedd defnyddio y fath arfau yn beth hollol anghydweddol â natur ei deyrnas ef; oblegyd teyrnas ysbrydol ydyw, a thrwy foddion moesol y mae hi i gael ei hamddiffyn a'i lledaenu. (Ioan

xviii. 36.) Nid ydyw i gael ei dwyn yn mlaen trwy erlid a charcharu, ysbeilio dynion o'u meddianau, a'u gosod i farwolaeth; "Canys arfau ein milwriaeth ni nid ydynt gnawdol, ond nerthol trwy Dduw i fwrw cestyll i'r llawr." (2 Cor. x. 4.) Yr oedd dyoddefiadau yr Iesu hefyd o ddwyfol osodiad, ac yr oedd yntau, gan hyny, yn benderfynol o ymostwng iddynt: "*Dod dy gleddyf yn y wain:*" meddai, "*y cwpan a roddes y Tad i mi, onid yfaf ef?*" A byrbwylldra mawr yn Petr, druan, oedd meddwl fod ar un oedd yn meddu y fath allu ac awdurdod ag oedd gan Grist, eisieu gwasanaeth eiddilaidd un o'i fath ef i'w gynnorthwyo a'i amddiffyn rhag ei elynion: "*A ydwyt ti yn tybied,*" ebe yr Iesu wrtho, "*nas gallaf yr awr hon ddeisyf ar fy Nhad, ac efe a rydd yn y fan i mi fwy na deuddeg lleng o angelion?*" Gallasai gael deuddeg lleng o angelion i ymladd drosto yn lle deuddeg apostol,* neu ynte, fe allai mai lleng i amddiffyn pob un o'i ddysgyblion, ac yntau, a feddyliai. Yr oedd lleng yn cynwys tua chwe' mil. Gorchwyl bychan i'r fath fyddin aruthrol â hon, o "angelion cedyrn o nerth," fuasai llwyr ddinystrio holl elynion Crist; canys yr ydym yn darllen i un angel, mewn un noswaith, ladd cant a phedwar ugain a phump o filoedd, o elynion Israel. (2 Bren. xix. 35.)

"A'r Iesu a atebodd ac a ddywedodd, *Goddkfwch hyd yn hyn.*" Mae rhai yn tybied mai ei ddysgyblion a gyfarchai yr Iesu fel hyn, ac mai yr ystyr yw, "Goddefwch! hyd yn hyn, a dim yn mhellach, yn y ffordd o wrthwynebu y dynion yma i gyflawni eu hamcan." Ond tybia eraill mai wrth ei elynion y llefarodd efe y geiriau hyn, a'i fod yn dymuno arnynt beidio ymddïal am yr hyn oedd un o'i ddysgyblion wedi ei wneuthur, mewn byrbwylldra, heb ei ganiatâd ef. Golyga eraill drachefn, mai pan oeddynt yn myned i rwymo ei ddwylaw y llefarodd efe y geiriau, ac

* Gwir mai unarddeg o ddysgyblion oedd gan yr Iesu yn awr, wedi i Judas droi yn fradwr; ond gan mai eu rhifedi arferol a phriodol oedd deuddeg, yr oedd y gymdeithas yn cael ei galw y deuddeg, er fod rhai o honynt yn eisieu. (1 Cor. xv. 5.) Gwel TRENCH ar y Gwyrthiau.

mai y meddwl yw, "Gadewch fy llaw yn rhydd am fynyd, tra byddwyf yn cyflawni un weithred eto o drugaredd; ac mi a wnaf y niwed i fynu yn y fan." "*Ac efe a gyffyrddodd â'i glust, ac a'i hiachâodd ef.*" (1.) Yr oedd y wyrth hon yn amlygu *ei allu dwyfol.* Dangosai yn eglur i'w elynion' trwy y weithred hon, fod ganddo ddigon o allu i waredu ei hun o'u dwylaw, pe buasai yn dewis. Nid *colli* ei einioes a wnaeth; ond ei *rhoddi* yn bridwerth dros lawer; canys nid oedd neb yn ei dwyn hi oddiarno; ond efe oedd yn ei dodi hi i lawr o hono ei hun. (Ioan x. 18.) (2.) Y mae y wyrth hon yn dangos ei *ysbryd maddeugar.* Yma ni a'i gwelwn yn gwneuthur daioni i un o'i elynion oedd yn ceisio ei einioes. Yn hyn efe a adawodd esiampl i ninau, i beidio ymddïal; ond i ddyoddef yn addfwyn ac amyneddgar, pan yn cael ein herlid, oblegyd ein crefydd; ac i wneuthur daioni i'r rhai a'n casânt: "Eithr yr ydwyf fi yn dywedyd wrthych chwi, Cerwch eich gelynion, bendithiwch y rhai a'ch melldithiant, gwnewch dda i'r sawl a'ch casânt, a gweddiwch dros y rhai a wnel niwed i chwi, ac a'ch erlidiant." (Math. v. 44.) (3.) Yn y wyrth hon yr ydym yn gweled yr Arglwydd Iesu *yn gwneud i fynu y niwed a wnaed gan sêl annoeth un o'i ganlynwyr.* Y mae ei ddysgyblion proffesedig wedi gwneuthur niwed annhraethol, lawer pryd, trwy ddefnyddio moddion anmhriodol, fel Petr yn yr amgylchiad hwn, i geisio cynal a lledaenu ei achos; ac y mae lle i ofni y buasai ei achos wedi ei ddinystrio, oni buasai iddo ef gyfryngu, dro ar ol tro, trwy ei ragluniaeth, a'i Ysbryd, er gwneud i fynu y niwed a wnaed gan ei bobl, trwy eu hannoethineb a'u byrbwylldra. Y mae o bwys i ni fod ar ein gocheliad rhag ymfoddloni ar sêl heb wybodaeth, ar y naill law, yn gystal ag ar wybodaeth heb sêl, ar y llaw arall. "A hyn, yr wyf yn ei weddio, ar amlhâu o'ch cariad chwi eto fwyfwy *mewn gwybodaeth, a phob synwyr;* fel y profoch y pethau sydd â gwahaniaeth rhyngddynt; fel y byddoch bur a didramgwydd hyd ddydd Crist; &c." (Phil. i. 9—11.)

## XXXIII.

## BORE GYDA'R IESU WRTH FOR TIBERIAS.

"*Gwedi y pethau hyn, yr Iesu a ymddangosodd drachefn i'w ddysgyblion wrth fôr Tiberias: ac fel hyn yr ymddangosodd, &c.*"—IOAN xxi. 1—23.

AR fore teg a hyfryd yn mis Mai, yr ymwelodd yr Iesu fel hyn â'i ddysgyblion, wrth fôr Galilea, neu fôr Tiberias, fel y gelwir ef yma. Dywed yr Efengylwr mai dyma y drydedd waith iddo ymddangos iddynt, ar ol ei adgyfodiad. (Adn. 14.) Rhaid fod hyn yn arwyddo, naill ai mai dyma y trydydd tro iddo ymddangos i amryw o honynt gyda'u gilydd, neu ynte, mai hwn oedd y trydydd dydd iddo ymddangos iddynt. Mae y gair "ymddangos" yma yn golygu, *gwneuthur ei hun yn weledig*, fel y byddai yr angelion sanctaidd yn gwneud, ar rai achlysuron; ac y mae yn rhoddi ar ddeall nad oedd efe, ar ol ei adgyfodiad, yn weledig i lygaid o gnawd, ond pan y byddai yn ewyllysio gwneuthur ei hun felly. Mae rhyw ddirgelwch cysegredig yn perthyn i'w fywyd, y deugain niwrnod rhwng ei adgyfodiad a'i esgyniad. Ni ŵyr neb yn awr, ac ni wyddai neb y pryd hyny, ychwaith, pa le, na pha fodd, y treuliai efe y rhan fwyaf o'r amser hwnw. Nid ydoedd mwyach i'w weled yn y synagog na'r deml; yn ngardd Gethsemane, lle yr oedd wedi arfer cyrchu yn fynych; nac yn nhŷ ei hoff gyfeillion yn mhentref prydferth Bethania; ac nid ydoedd yn pregethu yn yr awyr agored, ac yn iachâu cleifion fel cynt. Fe allai ei fod yn rhodio heolydd Jerusalem, a bryn Calfaria, a mynydd yr Olewydd yn anweledig; neu, fe ddichon iddo dalu ymweliad â chymydogaeth Nazareth, lle y magesid ef, a manau eraill yn Galilea, lle y gwnaethid y rhan fwyaf o'i weithredoedd nerthol; neu ynte, y mae yn bosibl iddo dreulio llawer o'r amser mewn rhyw le dirgel a neillduedig,

yn nghwmni angelion, neu gyda'r saint hyny a gyfodwyd ganddo oddiwrth y meirw, fore y trydydd dydd. (Math. xxvii. 52, 53.) Byddai yn ymddangos yn awr ac yn y man i'w ddysgyblion; yn ymddyddan â hwynt, yn bwyta yn eu gŵydd; ac yn eu gwahodd i'w deimlo, er mwyn rhoddi pob sicrwydd iddynt o wirionedd ei adgyfodiad; ac yna diflanai drachefn yn sydyn allan o'u golwg hwynt. Cydymffurfiai â deddfau y byd presenol; ond dangosai yn amlwg, ar yr un pryd, nad ydoedd mwyach o angenrheidrwydd yn ddarostyngedig iddynt. Yr ydoedd trwy y pethau hyn yn ymdrechu argraffu ar feddyliau ei ddysgyblion, mai yr un fydd y corff ar ol yr adgyfodiad, ag ydyw yn awr, ond eto, y bydd yn llawer mwy galluog a gogoneddus. Yr ydoedd hefyd am ddysgu iddynt ei fod ef yn gwybod eu hanes, ac yn sylwi arnynt yn barhaus, er ei fod yn anweledig iddynt. Dangosai nad ydoedd yn absenol er nad oeddynt yn ei weled; ond ei fod gyda'i bobl, pan nas gallai llygaid o gnawd ei ganfod. Amcanai trwy hyn eu dwyn i "rodio wrth ffydd, ac nid wrth olwg."

Yr ydym yn cael fod y dysgyblion yn Jerusalem yn adeg croeshoeliad, ac adgyfodiad, eu Harglwydd. Ond yr oedd efe wedi dweyd wrthynt, yn yr oruwch ystafell, y noswaith cyn ei farwolaeth, "Wedi fy adgyfodi, mi a af o'ch blaen chwi i Galilea." Bore y trydydd dydd y mae yr angel yn dweyd wrth y gwragedd a ddaethant i edrych y bedd, "Ewch ymaith, dywedwch i'w ddysgyblion ef, ac i Petr, ei fod ef yn myned o'ch blaen chwi i Galilea: yno y cewch ei weled ef, fel y dywedodd i chwi." A phan oedd y gwragedd yn myned ar ffrwst â'r genadwri hon i'r dysgyblion, yr Iesu ei hun a gyfarfu â hwynt, ac a ddywedodd wrthynt, "Nac ofnwch; ewch, mynegwch i'm brodyr, fel yr elont i Galilea, ac yno y'm gwelant i." (Math. xxvi. 32; Marc xvi. 7; Math. xxviii. 10.) Fel hyn yr oedd Galilea wedi ei apwyntio, gan yr Iesu, fel lle i gyfarfod â'i ddysgyblion, ac am hyny, y maent yn gadael Jerusalem, yn fuan wedi i ddyddiau yr wyl fyned drosodd, ac yn dychwelyd i Galilea,

yn ol y gorchymyn. Ac yma y mae yr Iesu yn dyfod atynt yn ol ei addewid; "canys ffyddlawn yw yr hwn a addawodd."

Mae yn dra theilwng o'n sylw, mai nid mewn cyfarfod crefyddol, ond gyda'u gorchwyl cyffredin, yr oedd y dysgyblion pan ymddangosodd yr Iesu iddynt y tro hwn. Nid oeddynt i fyned allan i bregethu nes y byddai yr Ysbryd o'r uchelder wedi ei dywallt arnynt; ond yn lle treulio yr amser yn segur, tra byddent yn dysgwyl am eu Harglwydd, y maent yn ymaflyd yn eu hen alwedigaeth. Er eu bod wedi eu dyrchafu i'r swydd fwyaf urddasol ac anrhydeddus, yr oeddynt yn ddigon gostyngedig i drin y rhwydau, a gweithio â'u dwylaw. Ac felly, un min nos, pan oedd gwyneb y môr yn dawel a deniadol, y mae Petr yn dweyd wrth ei frodyr, ei fod ef am fyned i bysgota; ac y maent hwythau oll yn dweyd yr aent gydag ef. Y maent yn myned allan gyda'u gilydd yn ddioed i lan y môr, ac yn dringo i long fechan oedd gerllaw; a dyna lle yr oeddynt, gyda'r gwaith o bysgota, pan ymddangosodd yr Iesu iddynt bore dranoeth. Mae genym hanes am dano yn ymddangos iddynt ddwywaith o'r blaen mewn cynnulliad crefyddol, ar y dydd cyntaf o'r wythnos, i ddysgu i'w bobl i ddysgwyl am ei bresenoldeb yn ei dŷ, ac ar ei ddydd. Ond yma, y mae yn ymddangos iddynt ar ddiwrnod gwaith, a phan oeddynt yn dilyn eu galwedigaeth dymhorol, i'r dyben o roddi ar ddeall, nad yw diwydrwydd gyda phethau y byd yma yn un rhwystr i fywyd crefyddol; ac mai nid yn y cysegr, ar y Sabbath, yn unig yr ydym i ddysgwyl presenoldeb yr Arglwydd; ond y gallwn gael ei gymdeithas, wrth gyflawni ein gorchwylion cyffredin, ar ddyddiau yr wythnos hefyd.

Yr oedd y dysgyblion hefyd wedi bod yn ymboeni ar hyd y nos, yn aflwyddianus, pan ymddangosodd yr Iesu iddynt: "*A'r nos hono ni ddaliasant ddim.*" Y nos oedd yr adeg oreu i bysgota, ac yr oeddynt hwythau yn bysgodwyr medrus; ond er hyny oll, yr oeddynt wedi methu dal dim.

Peth digon digalon oedd colli eu cysgu, ac ymboeni yn ofer, ar hyd y nos. Ond yr oedd hyn yn cael ei drefnu, yn ddiameu, i wneuthur y ddalfa wyrthiol yn y bore yn fwy rhyfedd yn eu golwg. Y mae yn dygwydd yn fynych eto, fod pobl yr Arglwydd yn aflwyddianus yn eu galwedigaethau cyfreithlawn, er pob diwydrwydd a gofal o'u heiddo; ac y mae hyn yn cael ei fwriadu i'w dwyn i deimlo eu hymddibyniad ar ddwyfol ragluniaeth: "Os yr Arglwydd nid adeilada y tŷ, ofer y llafuria ei adeiladwyr wrtho." (Salm cxxvii. 1.)

Y mae gweision Crist yn gorfod llafurio hefyd yn fynych, gyda gwaith yr Arglwydd, heb weled fawr o lwyddiant ar eu llafur, nes y mae llawer un o honynt yn barod i ddweyd gyda'r proffwyd, "Yn ofer y llafuriais, yn ofer ac am ddim y treuliais fy nerth." (Esaiah xlix. 4.) Ond y mae hanes y dysgyblion ar fôr Tiberias, y pryd hwn, yn ddefnydd cysur cryf i'r saint, yn ngwyneb eu haflwyddiant a'u profedigaethau; canys arwyddir yma fod bore dedwydd i wawrio arnynt, ar ol y tywyllwch a'r siomedigaethau, ar fôr tymhestlog y byd. "Dros brydnawn yr erys wylofain, ac erbyn y bore y bydd gorfoledd." "Y nos a gerddodd yn mhell, a'r dydd a nesàodd." (Salm xxx. 5; Rhuf. xiii. 12.) Ffy y tywyllwch a'r cysgodau, a phan dỳr y wawr ceir gweled yr Iesu yn sefyll ar lanau bythol wyrdd y nefol wlad: "Dy lygaid a welant y brenin yn ei degwch: gwelant y tir pell." (Esaiah xxxiii. 17.)

Gadewch i ni edrych ychydig eto ar y dull y datguddiodd y Gwaredwr ei hun i'r dysgyblion y tro hwn: "*A phan ddaeth y bore weithian, safodd yr Iesu ar y làn: eithr y dysgyblion ni wyddent mai yr Iesu ydoedd.*" Pan oeddynt yn pysgota y tro cyntaf, yr oedd efe gyda hwynt yn y llong (Luc v. 4.); a chawn hanes am dano, dro arall, yn rhodio atynt ar y dyfroedd (Ioan vi. 19.); ond yma, y mae efe yn sefyll ar y traeth, i arwyddo, fel y tybir, ei fod ef, erbyn hyn, wedi darfod â môr tymhestlog y byd yma, ac wedi glanio ar diroedd dedwydd anfarwoldeb; ond nid felly am ei ddysg-

yblion. Yr oedd yr hyn a fydd yn wir, yn y man, am bawb o'i bobl, yn wir eisoes am dano ef, sef, "A'r môr nid oedd mwyach" (Dat. xxi. 1.), h.y., ni bydd na therfysgoedd, na pheryglon, yn y sefyllfa wynfydedig sydd yn aros y saint tu draw i'r bedd. Yr oedd gwaith yr Iesu yn sefyll ar y làn, yn lle myned at y dysgyblion i'r llong, yn arwyddo yr un peth, gan hyny, ag a ddywedasid ganddo yn ei weddi: "Ac nid wyf mwyach yn y byd, ond y rhai hyn sydd yn y byd." (Ioan xvii. 11.) Mae y dysgyblion ar lasiad y dydd, ac wrth oleuni llwyd y wawr, yn gweled rhywun yn rhodio ar y traeth; ond gan ei bod hi eto yn dywyll, neu ynte, oherwydd ei fod yn ymddangos "mewn gwedd arall" (Marc xvi. 12.), ni ddarfu iddynt ei adnabod; eithr tybiasant mai rhyw ddieithr-ddyn ydoedd, wedi dyfod i lawr i làn y môr o un o'r trefi cyfagos, i ymofyn am bysgod ar werth erbyn ei foreufwyd. "*Yna yr Iesu a ddywedodd wrth ynt, O blant, a oes genych ddim bwyd?*" Mae yn eu hanerch mewn dull tadol a chyfeillgar, fel pe dywedasai, "Pa fodd yr ydych yn dyfod yn mlaen, fy mechgyn i? a oes genych bysgod i'w gwerthu?" "*Hwythau a atebasant iddo, Nac oes. Yntau a ddywedodd wrthynt, Bwriwch y rhwyd i'r tu dehau i'r llong, a chwi a gewch.*" "Hwyrach ei fod wedi gweled pysgod yn neidio yn y fan yna," meddynt wrth eu gilydd, "byddai yn well i ni roddi prawf ar ei gynghor, boed a fyno." "*Hwy a fwriasant gan hyny; ac ni allent bellach ei thynu gan y lliaws pysgod.*" Y mae yn ddiau i'r pysgod hyn gael eu casglu i'r fan hono, ar y pryd, trwy awdurdod a gallu yr Arglwydd Iesu. Yr oedd efe wedi gwneud gwyrth gyffelyb i hon, yn ngwydd amryw o honynt, tua dwy flynedd a haner yn ol (Luc v. 4—7.); ac y mae yn ymddangos fod hon, fel hono, wedi ei bwriadu i osod allan y llwyddiant mawr oedd i fod ar eu gweinidogaeth hwy, ac eraill o weision Crist, fel pysgodwyr dynion. Ond y mae y wyrth hon yn gwahaniaethu oddiwrth yr un o'r blaen, mewn rhai pethau. Yno y mae y pysgod yn cael eu codi i'r llong, yr hyn oedd yn arwydd, ond odid, o ddygiad

pechaduriaid, trwy weinidogaeth yr efengyl, i mewn i'r eglwys, yr hon sydd yn y byd yma fel llong fechan ar wyneb yr eigion cynhyrfus. Ond yma, y mae y rhwyd yn cael ei llusgo i'r làn, yn lle ei chodi i'r llong, yr hyn, yn ol barn Augustine ac eraill, oedd yn cyfeirio at ddygiad pechaduriaid allan o'r "byd drwg presenol," i ogoniant yn y diwedd. Dywedir hefyd, yn hanes y wyrth gyntaf, i'r rhwyd ddechreu rhwygo, ond yma, er bod cymaint o bysgod, "*ni thorodd y rhwyd.*" Y mae yn anhawdd meddwl y buasai peth mor fychan â hyn yn cael ei grybwyll, oni buasai ei fod yn arwydd o rywbeth. Barna rhai fod y ffaith i'r rhwyd rwygo y tro cyntaf yn dangos yr anhawsdra a gai yr apostolion, a gweinidogion y gair, i gadw llawer o ddynion rhag dianc yn ol i'r byd, wedi iddynt gael eu dal unwaith yn rhwyd yr efengyl; a bod y ffaith na thorodd y rhwyd y tro yma, yn gosod allan gadernid a dyogelwch trefn gras, ac felly o'r un arwyddocâd â'r geiriau cysurlawn hyny o eiddo y Gwaredwr:—"A minau ydwyf yn rhoddi iddynt fywyd tragywyddol; ac ni chyfrgollant byth, ac ni ddwg neb hwynt allan o'm llaw i." (Ioan x. 28.)

Fe fu y ddalfa wyrthiol yma o bysgod yn foddion i ddwyn y dysgyblion i ddeall pwy oedd yr hwn a safai ar y làn: "*Am hyny y dysgybl hwnw yr oedd yr Iesu yn ei garu a ddywedodd wrth Petr, Yr Arglwydd yw.*" Ioan oedd y mwyaf meddylgar a llygadgraff yn mhlith yr apostolion: efe hefyd oedd yr hynotaf o honynt am ei gariad, "a phob un a'r sydd yn caru, y mae efe yn adnabod Duw." (1 Ioan iv. 7.) Ioan hefyd oedd y cyntaf i adnabod yr Iesu am mai efe oedd "y dysgybl yr oedd yr Iesu yn ei garu," ac y mae efe yn egluro ei hun mewn modd neillduol i'r rhai a gerir ganddo. (Ioan xiv. 21.) Ond Petr oedd yr hynotaf am ei *sel* a'i frwdfrydedd, yn mhlith yr apostolion, ac felly, os Ioan oedd y cyntaf i adnabod yr Iesu, Petr oedd y cyntaf i ddyfod ato. Pan ddeallodd efe mai yr Iesu oedd yr hwn a safai ar y làn, efe a roddodd ei wisg uchaf am dano, ac a neidiodd i'r môr (Math. xiv. 28.), gyda bwriad o nofio, neu o gerdded

trwy y dwfr, i'r lan, am fod arno frys i ddyfod at ei Arglwydd, yn gynt nag y gallai y llong lanio. Pan gofiom ei fod newydd wadu ei Arglwydd, gallasem ddysgwyl y buasai yn barotach i geisio ffoi i rywle i ymguddio rhagddo, nag i frysio fel hyn i'w bresenoldeb, ar ei ben ei hun. Ond yr oedd Petr yn adnabod ei Arglwydd yn rhy dda, ac yn gwybod gormod am ei gariad a'i faddeugarwch, i ofni ei wynebu. Yr oedd yr Iesu hefyd wedi amlygu ei barodrwydd i faddeu iddo trwy gofio yn garedig ato (Marc xvi. 7.); ac ymddangos iddo, yn rhywle, y dydd yr adgyfododd. (Luc xxiv. 34.) Felly, er i Petr ei wadu ef, ni wadodd efe mo Petr druan. Ac yr oedd tiriondeb rhyfedd y Gwaredwr tuag ato, wedi llenwi ei galon â'r fath ddiolchgarwch, fel y mae yn tori trwy bob rhwystrau i brysuro at draed ei Arglwydd i ddiolch iddo, a'i addoli. "*Eithr y dysgyblion eraill a ddaethant mewn llong, (oblegyd nid oeddynt bell oddiwrth dir, ond megys dau càn cufydd, neu tua chàn llath,) dan lusgo y rhwyd a'r pysgod.*" Nis gallwn lai nac edmygu a chanmol sêl Petr, yn ei waith yn gadael y llong, ac yn bwrw ei hun i'r môr; ond ar yr un pryd, yr oedd yn dda na wnaeth pawb fel efe; canys pe gwnaethent hyny, pa beth a ddaethai o'r llong, a'r pysgod? Ni buasai yn iawn i Ioan feio Petr, am adael y llong; nac i Petr, o'r tu arall, amheu cariad Ioan, oherwydd iddo aros yn y llong. Y mae dynion yn wahanol o ran eu tymherau a'u tueddiadau naturiol, &c.; ac felly nid yn yr un dull y mae pawb i wasanaethu yr Arglwydd, a rhyngu ei fodd.

"*A chyn gynted ag y daethant i dir, hwy a welent dân o farwor wedi ei osod, a physgod wedi eu dodi arno, a bara.*" Y mae yn ddiau mai Crist, trwy ei allu gwyrthiol, oedd wedi darparu y pethau hyn, ar gyfer y dysgyblion, erbyn y cyrhaeddent i'r làn. Yr oeddynt yn lluddedig, yn oer, ac yn newynog, ar ol bod allan trwy y nos ar wyneb y dyfnder; ond wele ymborth wedi ei barotoi ar eu cyfer, a thân iddynt i ymdwymno wrtho, tra byddent yn cymeryd eu lluniaeth. Gorchymyna yr Iesu iddynt ddwyn rhai o'r

pysgod a ddaliasent y pryd hwnw, i'w gosod ar y marwor, nid am na allasai efe ddarparu digon hebddynt, ond oherwydd ei fod yn ewyllysio iddynt gael mwynhâu ffrwyth eu llafur. Yna, y mae yn eu gwahodd i gyfranogi o'r arlwy, ac wedi rhoddi diolch, yn ol ei arfer, a rhoddi iddynt o'r bara a'r pysgod, y mae yn bwyta gyda hwynt. Nid oedd ar ei gorff, mae yn debyg, eisieu ymborth ar ol ei adgyfodiad, i'w gynal fel o'r blaen; ond yr oedd yn gallu bwyta pan y byddai yn dewis; a gwnaeth hyny, amryw weithiau, i'r dyben o brofi gwirionedd ei adgyfodiad. (Luc xxiv. 42, 43; Act. x. 41.)

Ond beth oedd amcan yr arlwy wyrthiol yma ar y traeth? Nid oedd angenrheidrwydd i'r Iesu wneud gwyrth yn unig er mwyn dadebru y dysgyblion; canys yr oedd eu cartrefi yn ymyl. Y mae yn debyg, gan hyny, iddo wneud y wyrth hon yn benaf i'r dyben o osod allan ryw wirionedd ysbrydol. Fel yr oedd y ddalfa o bysgod yn arwydd o'r llwyddiant mawr a fyddai ar weinidogaeth yr apostolion, felly, y mae yn debyg, fod y wledd yma ar y traeth wedi ei bwriadu i ddangos fod gweision Crist i gael gwledda yn ddedwydd gyda'u Harglwydd, ar ol gorphen eu llafur yma ar fôr tymhestlog y byd hwn, a glanio yn ddyogel ar dir y bywyd. "Chwychwi yw y rhai a aroshasoch gyda mi yn fy mhrofedigaethau. Ac yr wyf fi yn ordeinio i chwi deyrnas, megys yr ordeiniodd fy Nhad i minau; fel y bwytâoch ac yr yfoch ar fy mwrdd i yn fy nheyrnas, ac yr eisteddoch ar orseddfeydd yn barnu deuddeg llwyth Israel." (Luc xxii. 28—30.) Fel y gorchymynodd yr Iesu i'w ddysgyblion ddwyn o'r pysgod a ddaliasent y pryd hwnw, i'r arlwy ar y traeth, felly y caiff y saint yn y nef fwynhâu o ffrwyth eu llafur; canys bydd "eu gweithredoedd yn eu canlyn hwynt" (Dad. xiv. 13.); a bydd gweled yr eneidiau y byddant wedi bod yn offerynau i'w hachub, yn un elfen bwysig yn nedwyddwch gweision yr Arglwydd: "Canys beth yw ein gobaith ni, neu ein llawenydd, neu goron ein gorfoledd? onid chwychwi ger bron ein Harglwydd Iesu Grist

yn ei ddyfodiad ef? Canys chwychwi yw ein gogoniant a'n llawenydd ni." (1 Thes. ii. 19, 20.)

"*Eithr ni feiddiai neb o'r dysgyblion ofyn iddo, Pwy wyt ti? am eu bod yn gwybod mai yr Arglwydd oedd.*" Y mae yn gweddu i ni fod yn gynil a gochelgar, wrth siarad ar fater ag y mae cymaint o ddirgelwch yn perthyn iddo â chorff ein Harglwydd, ar ol ei adgyfodiad. Ond y mae y geiriau hyn yn arwyddo yn amlwg fod ei ymddangosiad yn dra gwahanol i'r peth ydoedd cyn ei farwolaeth; ac eto fod y dysgyblion yn teimlo yn sicr mai efe ei hun ydoedd. Dengys ei weddnewidiad y posiblrwydd i'r fath gyfnewidiad gymeryd lle. Dichon mai nid ar unwaith y gogoneddwyd ei gorff; ond i'r cyfnewidiad gael ei ddechreu yn ei adgyfodiad, a'i ddwyn yn mlaen yn raddol, yn ysbaid y deugain niwrnod, ac i'r gwaith gael ei berffeithio ar ei esgyniad. Dyna, modd bynag, yw barn llawer o'r esbonwyr diweddar ar y mater.

"*Yna gwedi iddynt giniawa, yr Iesu a ddywedodd wrth Simon Petr, Simon mab Jona, a wyt ti yn fy ngharu i yn fwy na'r rhai hyn?* &c." Yr oedd Iesu Grist yn dirion a charedig iawn yn ei waith yn gadael i Petr fwyta ei giniaw cyn dechreu ei holi. Gwyddai yn dda y buasai yr ymddyddan yn effeithio cymaint ar Simon, fel na chawsai fawr o flas ar ei giniaw, y diwrnod hwnw, pe buasai efe yn dechreu ei gwestiyno *cyn* ciniaw. Mae yn ei holi yn ngŵydd ei frodyr, er mwyn rhoddi cyfleusdra iddo i gyffesu ei gariad yn eu clywedigaeth; ac fel y caffai yntau gyfleusdra i adferu Petr i'w swydd, yn mhresenoldeb amryw o'r dysgyblion, rhag i neb o honynt feddwl y dylasent ei ddïarddel o'r apostoliaeth, am wadu ei Arglwydd. Buasem ni, ond odid, yn dysgwyl iddo ofyn, "A ydyw yn ddrwg genyt dy fod di wedi fy ngwadu i?" Ond yn lle hyny, "A wyt ti yn fy ngharu i?" yw y cwestiwn a ddyry yr Iesu iddo, am fod hyn, ar unwaith, yn cynwys pobpeth; ac i ddangos fod cariad at Grist yn gymhwysder hanfodol er llenwi unrhyw swydd yn eglwys Dduw. "A wyt ti yn fy ngharu i *yn fwy na'r rhai*

*hyn?*" sef, yn fwy nag y mae y dysgyblion hyn yn fy ngharu i, mewn cyfeiriad at y fost hyderus hono o eiddo Petr, "Pe rhwystrid pawb o'th blegyd di, eto ni'm rhwystrir i byth." (Math. xxvi. 33.) Mae Petr yn sicrhâu, mewn atebiad i'r cwestiwn, ei fod yn caru ei Arglwydd; ond yr oedd yn adnabod ei hun yn rhy dda, erbyn hyn, i gynyg hòni ei fod yn ei garu yn fwy na'r dysgyblion eraill. Mae yn apelio hefyd at Hollwybodaeth ei Arglwydd, i brofi gwirionedd ei gariad, fel pe dywedasai, "Beth bynag a feddylia eraill am danaf, ar ol fy nghwymp galarus, *ti* a wyddost bob peth, *ti* a wyddost fy mod i yn dy garu di." Pe gofynasid yr un cwestiwn iddo, cyn ei gwymp, mae yn ddigon tebyg y buasai yn ateb trwy ddweyd, "*Mi* a wn fy mod yn dy garu di." Ond yma, yn lle apelio at dystiolaeth ei galon dwyllodrus ei hun, y mae yn apelio at Chwiliwr y calonau, ac yn dweyd, "*O Arglwydd, ti a wyddost bob peth; ti a wyddost fy mod yn dy garu di.*" Wedi iddo gyffesu ei gariad fel hyn, y mae yr Iesu yn dweyd wrtho am ddangos ei gariad ato ef trwy borthi ei ŵyn, a bugeilio ei ddefaid. Yna wedi hysbysu y gwaith oedd ganddo i'w gyflawni, y mae yr Iesu yn rhagfynegi iddo yr erlidiau oedd ganddo i'w dyoddef: "*Yn wir, yn wir, meddaf i ti, Pan oeddit ieuanc, ti a'th wregysaist dy hun, ac a rodiaist lle y mynaist: eithr pan elech yn hen, ti a estyni dy ddwylaw,*" i gael dy groeshoelio, "*ac arall a'th wregysa,*" neu a'th rwyma, "*ac a'th arwain lle ni fynit,*" neu, i le y bydd y cnawd yn ei arswydo, wrth feddwl am y dyoddefiadau fydd ganddo i fyned trwyddynt. "*A hyn a ddywedodd efe, gan arwyddo trwy ba fath angeu y gogoneddai efe Dduw. Ac wedi iddo ddywedyd hyn, efe a ddywedodd wrtho, Canlyn fi,*" gan gyfeirio, mae yn debyg, at yr hyn a ddywedasid ganddo wrth Petr, yn yr oruwch ystafell, "Ni elli di yr awrhon fy nghanlyn," i'r groes, nac i'r nefoedd: "eithr ar ol hyn y'm canlyni." (Ioan xiii. 36.) Gyda bod yr Iesu yn dweyd, "Canlyn fi," mae yn debyg iddo godi, a symud o'r fan lle yr ydoedd, ac ni wyddai Petr yn iawn pa un ai yn ffigurol, ai yn llythyrenol, yr ydoedd i ddeall

yr ymadrodd, "Canlyn fi." Tybiodd y gallai fod yr Iesu am iddo ei ganlyn yn llythyrenol, oherwydd fod ganddo rywbeth i'w ddweyd wrtho, ar ei ben ei hun, ac felly, y mae yn myned ar ei ol, ar hyd y traeth. Ofnodd Ioan, wrth weled hyn, fod yr Iesu yn ymadael, a'i fod am gymeryd Petr hefyd ymaith gydag ef; ac felly y mae yntau yn codi, ac yn dilyn y ddau yn ddystaw, ac fe allai dan wylo. Pan welodd Petr ei gyfaill Ioan yn canlyn, y mae oddiar gariad ato, a gofal am dano, debygid, yn gofyn i'r Iesu beth oedd yn aros Ioan? ac a fyddai yn rhaid iddo yntau hefyd ddyoddef merthyrdod? "*Yr Iesu a ddywedodd wrtho, Os mynaf iddo aros hyd oni ddelwyf,*" sef hyd oni ddelwyf i ddinystrio Jerusâlem, a chyflawn sefydlu goruchwyliaeth yr efengyl (Math. xvi. 28.): "*beth yw hyny i ti? canlyn di fyfi.*" Rhydd Crist ar ddeall yma, fod parhâd bywyd Ioan yn ymddibynu yn hollol ar ei ewyllys ef, ac y mae hyn yn brawf eglur o'i Dduwdod; canys nid oes yr un dyn a ddichon estyn bywyd ei gyfaill anwylaf am ddiwrnod. Mae yn debyg iddo, ar ol llefaru y geiriau hyn, ddiflanu yn sydyn allan o olwg y dysgyblion. Ond efe a ymddangosodd iddynt drachefn, ar ryw fynydd yn Galilea* (Math. xxviii. 16—20.); ac wedi hyny ar ddydd ei esgyniad. (Luc xxiv. 50, 51; Act. i. 9, 10.) "Ac felly yr Arglwydd, wedi llefaru wrthynt, a gymerwyd i fynu i'r nef, ac a eisteddodd ar ddeheulaw Duw. A hwythau a aethant allan, ac a bregethasant yn mhob man, a'r Arglwydd yn cyd-weithio, ac yn cadarnhâu y gair trwy arwyddion, y rhai oedd yn canlyn. Amen." (Marc xvi. 19, 20.)

* Ni ddywedir i ni pa fynydd oedd hwn. Tybia rhai mai mynydd y Gweddnewidiad ydoedd; ond y mae yn ymddangos yn llawn mor debygol mai mynydd y Gwynfydau ydoedd; canys yr oedd hwnw yn un tra chyfleus i esgyn iddo, o wastadedd poblog Gennasaret, a glànau môr Tiberias; ac yr oedd cysylltiad neillduol rhwng y mynydd hwnw â sylfaeniad yr eglwys Gristionogol, am fod ein Harglwydd wedi traddodi ei bregeth arno. *Gwel Ellicott's Lectures.* p. 409, 410.

---

R. HUGHES A'I FAB, ARGRAFFWYR A CHYHOEDDWYR, GWRECSAM.



# RHESTR O LYFRAU

CYHOEDDEDIG

## *Gan Hughes & Son, Wrexham.*

*Mewn llian hardd, Tri a Chwech.*

# DAMMEGION YR ARGLWYDD IESU

GAN O. EVANS, LLANBRYNMAIR.

[*Awdwr y Gyfrol ar "Wyrthiau Crist."*]

Y mae y gyfrol hon yn cynnwys TRAETHAWD ARWEINIOL, wedi ei rannu yn bennodau ar y materion canlynol:—

*Natur a Nodwedd Dammeg.*
*Paham y llefarai yr Iesu ar Ddammegion.*
*Deongliad Dammegion.*
*Cipolwg ar drefn a chynnwysiad y Dammegion.*
*Dammegion y Rabbiniaid Iuddewig a'r Tadau Eglwysig.*

Y mae hefyd yn cynnwys deg-ar-hugain o bregethau neu ddarlithiau beirniadol, eglurhaol, ymarferol, ac addysgiadol ar

## Y DAMMEGION.

1.—Yr Hauwr
2.—Yr Efrau.
3.—Yr Had Mwstard.
4.—Y Surdoes.
5.—Y Trysor Cuddiedig.
6.—Y Perl Gwerthfawr
7.—Y Rhwyd.
8.—Y Gwas anhrugarog.
9.—Y Gweithwyr yny Winllan
10.—Y ddau Fab.
11.—Y Llafurwr drygionus.
12.—Priodas Mab y Brenin.
13.—Y Deg Morwyn.
14.—Y Talentau.
15.—Yr Had yn tyfu yn ddiarwybod.
16.—Y ddau Ddyledwr.
17.—Y Samariad trugarog.
18.—Y Cyfaill ganol nos.
19.—Y Goludog ynfyd.
20.—Y Ffigysbren ddiffrwyth.
21.—Y Swpper Mawr.
22.—Y Ddafad a gollasid.
23.—Y Dryll arian.
24.—Y Mab afradlawn.
25.—Y Goruchwyliwr anghyfiawn.
26.—Y Goludog a Lazarus.
27.—Y Gwas anfuddiol.
28.—Y weddw daer.
29.—Y Phariseaid a'r publican.
30.—Y Punnoedd.

Y mae y gyfrol hon wedi ei darparu fel yn gydymaith i'r un a gyhoeddwyd genym o waith Mr. Evans ar "*Wyrthiau Crist,*" Pris 3s. 6c.

